Mr O. P. Jones
Castell Carronwy
Upper Llandwrog

March 19/05

# NODIADAU

AR

# HANES IESU GRIST,

GAN

Y PARCH. T. FOULKES ROBERTS,

MACHYNLLETH.

CAERNARFON:

ARGRAPHWYD GAN W. GWENLYN EVANS, STRYD-Y-LLYN.

—

1895.

BT304
R58
189-

# RHAGYMADRODD.

---

YR ydwyf yn cyflwyno y Nodiadau hyn ar Hanes ein Harglwydd Iesu Grist i'r darllenwyr gyda'r bwriad o geisio enill ac arwain eu meddyliau a'u bryd at hanes uwchaf nef a llawr. Y mae ei lwybrau ef yn lân, uniawn, a da. Efe yn unig a dorodd lwybr trwy y byd heb wyrni ynddo, a'i lwybr ef ydyw y llawnaf o bob rhinwedd a dawn. Mae dylanwad ei fywyd, ei eiriau, a'i farwolaeth wedi lefeinio cylchoedd dynolryw. Y mae ei enw ef goruwch pob enw yn y byd. Dygodd ef fywyd ac anllygredigaeth i oleuni. Gallwn ddisgwyl elw sylweddol trwy wrando ar ei eiriau ac edrych ar ei weithredoedd: y mae ei eiriau yn rasusol, ac ar ei weithredoedd y mae ei drugaredd.

Mae hanes ei fywyd genym: i ba beth yr ydych yn trafferthu? Gwir; ond gallai y Nodiadau hyn arwain yr ieuenctyd ac eraill i droi o gwmpas ei hanes yn yr Efengylau, a phrofi atdyniadau dwyfol ei Berson i'w tynu ato ei hun ac ar ei ol.

Nid oes genyf reswm personol dros wneyd y Nodiadau hyn, a phell ydwyf o honi perffeithrwydd, ond yn unig i mi wneuthur yn ol y cymhelliad a drigai yn fy meddwl er's blynyddau.

Gobeithiaf y bydd y Nodiadau syml yma yn foddion i arwain y genedl sydd yn codi at Hanes ein Harglwydd fel y byddo i'w meddwl ymsefydlu arno, ac fel y byddo iddynt ymgysegru i'w wasanaeth.

T. FOULKES ROBERTS.

Machynlleth.

847

# HANES IESU GRIST.

## PENOD I.

*Achau yr Iesu—Amgylchiadau genedigaeth Crist—Angel yn pregethu Crist gyntaf i'r bugeiliaid—Y seren yn arwain y doethion o'r dwyrain i Bethlehem—Pedwar amgylchiad yn ystod mabandod yr Iesu: ei enwaediad, ei gyflwyniad i'r Arglwydd yn y deml, a mynediad ei rieni i'r Aipht er eu diogelwch—Joseph a Mair yn cael eu galw o'r Aipht, ac yn dychwelyd i Nazareth—Gostyngeiddrwydd yr Iesu yn Nazareth—Deuddeg oed yn holi y doctoriaid.*

"Llyfr cenhedliad Iesu Grist, fab Dafydd, fab Abraham."—MATTH. i. 1.

DYDDOROL i drigolion y nef a'r ddaear ydyw edrych i mewn i achau Brenin y brenhinoedd ac Arglwydd yr arglwyddi. Tadau Crist o ran y cnawd ydynt Dafydd, Abraham, ac Adda. Cyfrifa Matthew yr achau o Abraham hyd Grist yn ddwy a deugain o genhedlaethau. Olrheinia Luc yr achau yn ol o Grist i Adda, dros bedair mil o flynyddoedd. Yr oedd Adda yn cychwyn byd, Abraham yn cychwyn cenedl, a Dafydd yn cychwyn llinach frenhinol. Y mae amrywiol bersonau o fri yn llinach yr Iesu o Abraham hyd Dafydd, Joseph a Mair.

Trwy ddyfod yn fab Dafydd daeth yn y llinach frenhinol, gan gyfranogi o waed cenhedlig. Yn llinach Dafydd y mae Salmon, Rahab, Boaz, Ruth, Obed, a Jesse. Gan hyny, y mae mab Dafydd yn agosach atom ni, genhedloedd, er ei fod yn y llinach frenhinol, na mab Abraham. Teimlid hyny gan y rhai a lefasant arno am drugaredd, canys yr ydym yn eu cael yn dywedyd, "Iesu, fab Dafydd, trugarha wrthym." Gan ei fod yn fab Abraham y mae ef yn hâd iddo, yn yr hwn y bendithir holl dylwythau y ddaear, ac i'r hwn y gwnaed yr addewidion. Canmoliaeth uchel i berson o fri ydyw y dystiolaeth ei fod yn eiddo cenedl: y mae y genedl yn edrych i fyny arno fel eu gwaredwr a'u cymwynaswr. Wele Berson sydd yn eiddo cenhedloedd y ddaear: ynddo y bendithir holl dylwythau y ddaear. Daeth Brenin nefoedd yn frawd i'r iselradd: "yr hwn yn ein isel radd a'n cofiodd ni." Dileodd yn ei deyrnas y gwahaniaeth cenedlaethol. Daeth mor agos atom o ran y cnawd fel y gallwn ei alw, Iesu, ein brawd. Y mae nesau ato, a galw arno, yn troi yn elw i'w frodyr tlodion, oherwydd y mae efe yn oludog i bawb sydd yn galw arno. Rhagorfraint uchel ydyw cael yr Iesu yn frawd. Dywed hanesyddiaeth i Napoleon y Cyntaf ofyn i un o'i swyddogion, "A ellwch chwi fynegi i mi pwy ydyw Iesu Grist?" Atebodd y swyddog nad oedd efe wedi meddwl nemawr i ddim am y fath bethau. "Mynegaf i chwi," meddai, gan gymharu yr Iesu âg ef ei hun ac â gwroniaid a mawrion yr oesoedd, ac fel y mae yr Iesu yn rhagori arnynt hwy, "yr wyf yn meddwl," ebe fe, "fy mod yn adnabod y natur ddynol: nid oedd yr oll o'r rhai hyn ddim ond dynion, ac nid ydwyf finau ddim ond dyn; ond nid oes neb tebyg iddo ef. Y mae Iesu Grist yn fwy na dyn. Darfu Alexander, Cæsar, Charlemagne, a minau sefydlu ymherodraethau mawrion; ond ar beth yr oedd ein medr ni yn dibynu i osod sylfeini ymherodraethau? Ar allu.

Yr Iesu yn unig a sefydlodd ei deyrnas ar gariad; ac hyd yma buasai miliwnau yn marw er ei fwyn ef."

Mae dyfodiad Crist i'n llinach ni wedi dyrchafu ein natur ni yn uwch na'r angelion. Pe dywedai yr angelion wrthym, "Yr ydym ni yn fodau ysbrydol; nid oes gysylltiad naturiol rhyngom ni â mater; ni raid i ni wrth fwyd a diod i'n cynal; ni raid i ni ddyoddef poenau a llygredd pechod, neu loesion marwolaeth; yr ydym ni yn bur a sanctaidd;" ninau a ddywedem, "Y mae Iesu Grist wedi d'od yn un ohonom ni; ac os cyrhaeddwn adref bydd nodau yn ein caniadau yn rhy uchel i chwi allu eu cyrhaedd."

### GENEDIGAETH CEIDWAD I'R COLLEDIG.

"A'r angel a ddywedodd wrthynt, Nac ofnwch: canys wele yr wyf fi yn mynegi i chwi newyddion da o lawenydd mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl. Canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd."—Luc ii. 10—12.

Genedigaeth Iesu Grist yn unig a ddygodd Geidwad i fyd colledig, "canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad," dywed yr angel. Trwy ei enedigaeth ef dygwyd golud-oedd y nefoedd i'r ddaear. Y mae ei enedigaeth ef yn ddechreuad cyfnod newydd yn hanes genedigaethau y byd, ac yn hanes llwyddiant y byd. Gorsedd Rhufain ydoedd y gallu gwladol cryfaf ac eangaf yn y byd pan y ganwyd yr Iesu. Augustus Cæsar oedd yn eistedd ar yr orsedd, llywodraeth yr hwn oedd o'r afon Rhine hyd derfynau eithaf Atlas, ac o afon Euphrates hyd Fôr y Werydd. Un o'i lynoedd ef yr ystyrid Môr y Canoldir. Herod fawr oedd y brenin yn Judea, o dan yr ymherawdwr. Anfonodd Augustus Cæsar orchymyn allan i drethu yr holl fyd; yr oedd y fath allu ganddo fel y gwnai i'r holl fyd adnabyddus symud i gael eu cofrestru er mwyn cael eu trethu ganddo. Cyfeiriodd Joseph a

Mair i'r dehau o Nazareth tua Bethlehem. Yr oedd y pellder o Nazareth i Bethlehem o ddeg a thriugain i bedwar ugain milldir. Y rheswm a roddir oherwydd iddynt fyned o Nazareth i Bethlehem i gael eu cofrestru yw, am eu bod o dŷ a thylwyth Dafydd. Er eu bod yn preswylio mewn lle cyffredin, ac mewn amgylchiadau cyffredin, yr oeddynt o waedoliaeth brenhinol, am eu bod yn llinach Dafydd.

Ni wyddai Augustus fod ei orchymyn i drethu yr holl fyd â'i gyfeiriad i gyflawni y brophwydoliaeth am enedigaeth yr Iesu yn Bethlehem. Yr oedd Joseph a Mair mewn mantais i wybod pa le y ganesid ef, a derbyniasant ddatguddiad y byddai y Ceidwad a'r Gwaredwr yn un o'r teulu, yr hyn a ddyrchafodd eu gobeithion yn ddiamheu. Ni chawn fanylion eu taith o Nazareth i Bethlehem. Dyddorol fuasai gwybod a oeddynt yn deall fod eu gwynebau yn cyfeirio i'r un man a'r brophwydoliaeth. Beth oedd yr ymddiddan ar eu taith i gyflawni bwriadau Duw? Pa le y darfu iddynt orphwyso ar y daith? Tybia rhai iddynt orphwyso yn Beeroth, yr hwn sydd tua phymtheng milldir o Bethlehem; ereill a dybiant iddynt orphwyso yn Jerusalem, tua chwe' milldir o Bethlehem. Llanwyd y lle cyn iddynt allu cyrhaedd, fel nad oedd le iddynt yn y llety: gorfu iddynt wneyd i fyny â lle mwy cyffredin. Arweiniodd anghyfleusdra hwynt i le yr oedd rhan o'r ystafell i'r anifeiliaid a rhan i'r bobl. Derbyniasant yr anghyfleusdra yn addfwyn a boneddigaidd; ac ni wna yr hanesydd sanctaidd yn unig ond ei grybwyll. Mynegir yr hanes yn hynod o syml: "A bu, tra yr oeddynt hwy yno, cyflawnwyd y dyddiau i esgor ohoni, a hi a esgorodd ar ei mab cyntaf-anedig, ac a'i rhwymodd mewn cadachau, ac a'i dododd yn y preseb, am nad oedd le yn y llety." Ar enedigaeth y fath un, gweddus a phriodol oedd iddynt fod yn ostyngedig



[BETHLEHEM.]

a distaw, er mor gyffredin ydoedd y lle yr arweiniwyd hwynt iddo.

Tua milldir o Bethlehem, meddir, y mae yno wastadedd bychan, lle y mae olion capel, yr hwn a elwid capel y bugeiliaid, yr hwn, yn ol traddodiad, a adeiladwyd ar y llanerch yr ymddangosodd yr angel i'r bugeiliaid, ac y mynegodd iddynt am enedigaeth yr Iesu yn Bethlehem. Yr oedd y bugeiliaid hyn yn feddianol ar fesur o gymhwysder i werthfawrogi y newyddion da. Yr oeddynt, y mae yn dra thebyg, wedi bod yn aros mewn myfyrdod a gweddi, a disgwyliad am y Messïah, yn y meusydd y bu Jacob yn bugeilio defaid; ac yma y daeth Boaz a Ruth i gyfarfyddiad; ac yn y meusydd, yn mysg y defaid, y treuliodd Dafydd ddyddiau ei ieuenctyd.

### DYDDIAU EI FABANDOD.

Yr angel gafodd y rhagorfraint oruchel o bregethu Crist gyntaf i'r bugeiliaid yn meusydd Bethlehem. Ei destyn oedd, "Nac ofnwch, canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd;" a chyda'r angel yr oedd lluaws o lu nefol wedi d'od i'r lle yn molianu Duw, ac yn canu yr anthem gyda brwdfrydedd nefol, "Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Bu y cyfarfod yn y maes yn llwyddianus i arwain y bugeiliaid at yr Iesu. Dywedasant, "Awn hyd Bethlehem, a gwelwn y peth hwn a hysbysodd yr Arglwydd i ni;" a chawsant fel y mynegodd yr angel iddynt, a dychwelasant gan ogoneddu a molianu Duw. Hwn ydoedd yr ail gyfarfod i bregethu y newyddion da am yr Iesu.

Amgylchiad tra dyddorol ac awgrymiadol yn ei hanes ydyw dyfodiad y doethion o'r dwyrain, dan arweiniad y seren, i weled, anrhegu, ac addoli y Mab bychan. Yr

oedd ein Ceidwad, yn y ffurf a'r amgylchiad distadlaf, yn ddigon mawr i fod yn wrthrych addoliad holl angelion Duw, a'r doethion o'r dwyrain. Yn nyfodiad y doethion o'r dwyrain at yr Iesu, canfyddwn ddyfodiad y byd cenhedlig at y Gwaredwr: yr oedd ymofyniad wedi ei ddeffro ynddynt am Geidwad. I gyfarfod yr ymofyniad ynddynt cenhadodd Duw y seren i'w harwain at yr Iesu. Daethant i Jerusalem, a gofynasant, "Pa le y mae yr hwn a anwyd yn Frenin yr Iuddewon, canys gwelsom ei seren yn y dwyrain, a daethom i'w addoli ef." Darfu cwestiwn y doethion, a'r dystiolaeth am y seren, gyffroi Herod frenin, a holl Jerusalem gydag ef. Cyflawnodd y seren ei chenhadaeth yn ffyddlawn trwy arwain y doethion i'r lle yr oedd y Mab bychan. "A hwy a welsant y Mab bychan gyda Mair ei fam, a hwy a syrthiasant i lawr, ac a'i haddolasant ef; ac wedi agoryd eu trysorau a offrymasant iddo anrhegion: aur, a thus, a myrr." Y mae dadl am eu nifer. Dywed Augustine a Chrysostom mai deuddeg ydoedd eu nifer, ond y farn gyffredin yw mai tri oedd eu nifer. Deuant i'r farn hon oddiwrth y tair anrheg—aur, thus, a myrr. Mynega Bede eu henwau, eu gwlad, a'u hymddangosiad. Eu henwau, medd ef, oedd Melchion, Caspar, a Batthasai. Belchion, meddai, oedd hen wr a'i wallt yn wyn, a'i farf yn llaes; Caspar oedd ddyn ieuanc gwridog a difarf; Batthasai oedd ddyn melynddu, yn nghyflawnder ei nerth. Dywed traddodiad fod Melchion yn hiliogaeth Sem, Caspar yn hiliogaeth Ham, a Batthasai yn tarddu o Japheth. Rhybuddiodd yr Arglwydd hwynt trwy freuddwyd na ddychwelent at Herod, yr hwn oedd yn boddi i ddinystr a cholledigaeth. Peryglus ydyw myned yn agos at ddyn yn boddi i ddinystr a cholledigaeth. "Hwy a aethant drachefn i'w gwlad ar hyd ffordd arall."

## AMGYLCHIADAU EI FABANDOD.

Mae yr Efengyl yn mynegi i ni bedwar amgylchiad yn ei hanes yn ei fabandod : ei enwaediad, ei gyflwyniad yn y deml, eu mynediad i'r Aipht er eu diogelwch, a'u dychweliad o'r Aipht i Nazareth. "Wedi ei wneuthur o wraig," rhaid oedd ei wneuthur dan y ddeddf, fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf. Pan gyflawnwyd wyth niwrnod, dygasant y dyn bach i gael ei enwaedu. Yr oedd ei rieni, debygem, yn edrych ar enwaediad y dyn bach Iesu yn ddigon pwysig i fyned gyda'r amcan i Jerusalem. Sylwa un awdwr fel y mae machludiad haul yn gosod ei ddelw ar y dwyrain, felly yr oedd marwolaeth Crist yn gosod ei ddelw ar ei fywyd yn ei enwaediad. "Ac wedi cyflawni dyddiau ei phuredigaeth hi, dygasant ef i Jerusalem i'w gyflwyno i'r Arglwydd." Par o ddurturod, neu ddau gyw colomen, a allodd ei llaw hi gyrhaedd. Mynegai ei hoffrwm mai tlawd ydoedd. Prynid y cyntaf-anedig yn Israel. Priodol gan hyny i ni olygu i'r Iesu gael ei brynu yn ei gyflwyniad i'r Arglwydd. Y cyntaf-anedig oedd i weinyddu yn y ty o dan ben y teulu, neu yn ei absenoldeb. Bernir i Joseph gael ei gymeryd ymaith yn lled gynarol. Yr Iesu, gan hyny, oedd yn offeiriadu yn y teulu yn Nazareth ar ol marwolaeth Joseph.

Cafodd Simeon, yr hwn oedd wr cyfiawn a duwiol, ac Anna, y brophwydes, olwg arno fel eu Ceidwad yn ei deml. Cynyrchodd myfyrdodau Simeon yn y gair, a'i weddiau, ddisgwyliad ynddo am ddiddanwch yr Israel; yr oedd ef yn byw mor dduwiol fel y mynegodd yr Ysbryd Glân iddo y cai ef fyw i weled Crist yr Arglwydd. Wedi derbyn y dyn bach Iesu i'w freichiau gwelodd ynddo sylwedd ei ddisgwyliadau ac iachawdwriaeth Duw. "Yr awrhon," dywed, "y gollyngi dy was mewn tangnefedd, yn ol dy air; canys fy llygaid a welsant dy

iachawdwriaeth." Gwelodd iachawdwriaeth Duw yn y baban Iesu, ac yr oedd cyflawniad ei ddisgwyliadau yn cynyrchu hyder cryf yn ei olwg ar y dyfodol. Ni chafodd Anna fod ar ei cholled trwy wasanaethu mewn ymprydiau a gweddiau ddydd a nos, gan iddi weled Crist yr Arglwydd, fel y gallai lefaru am dano wrth y rhai oeddynt yn disgwyl am dano yn Israel.

### EU FFOADIGAETH I'R AIPHT.

Daeth y bugeiliaid at y mab bychan, ac a gyflwynasant addoliad iddo. Gwelodd Simeon dduwiolfrydig, ac Anna y brophwydes, iachawdwriaeth ynddo. Daeth y doethion o'r dwyrain bell i Bethlehem i'w addoli; ond yr oedd pob gair o hanes y mab bychan yn cynhyrfu Herod greulawn, yr hwn oedd wedi disgyn yn isel i drueni a chreulondeb pechod. Yn ei dŷ ei hun ei wraig a'i ddau fab a laddwyd ganddo; a phlant Bethlehem a'r cyffiniau a laddwyd gan yr adyn creulawn hwn. Dywedodd yr angel wrth Joseph mewn breuddwyd am iddo gymeryd y mab bychan a'i fam, a ffoi i'r Aipht. Yn ol cyfarwyddyd yr angel, cymerodd Joseph y mab bychan a'i fam, a ffodd i'r Aipht. Arosasant yn yr Aipht hyd farwolaeth Herod. Ni ddywed yr efengylwyr pa le yn yr Aipht y preswyliai y teulu sanctaidd hwn. Dywed hen chwedloniaeth iddynt fod yn absenol o Palestina am ddwy flynedd, a'u bod yn aros tua dwy filldir yn y gogledd-ddwyreiniol o Cairo, lle y dangosid ffynon, a hen sycamorwydden, dan yr hon y trigent. Mae distawrwydd y Gair Sanctaidd ar eu hanes yn ein cymhell i fod yn wyliadwrus wrth gredu chwedloniaeth. Ufuddhasant i orchymyn angel yr Arglwydd trwy aros yn yr Aipht hyd farwolaeth Herod. Nid ydyw yr Arglwydd yn oedi yn hir i symud dynion o'r ffordd pan y safant yn erbyn iddo gyflawni ei fwriadau. Yna, yn ol cyfarwyddyd angel yr Arglwydd, cyflawnasant y brophwyd-

oliaeth trwy ddychwelyd i dir Israel, yr hon a ddywed, "O'r Aipht y gelwais fy Mab." A hwy a ddychwelasant i Nazareth, eu hen gartref.

### YN NAZARETH.

"Ac a fu ostyngedig iddynt. A'r Iesu a gynyddodd mewn doethineb a chorpholaeth a ffafr gyda Duw a dynion."—MARC ii. 11, 12.

Wele Frenin y brenhinoedd, ac Arglwydd yr arglwyddi, yn ufuddhau yn ostyngedig i reolau teulu cyffredin mewn lle a ystyrid yn gyffredin—"Ac a fu ostyngedig iddynt." Dywed y gair hwn fwy na phe buasai cyfrolau wedi eu hysgrifenu i fynegi manylion ei fywyd yn nhymor ei ieuenctyd. Deuai ei berpheithrwydd dwyfol a dynol i'r golwg mewn ufudd-dod gostyngedig a pherffaith i'w rieni. Ymddangosai ei fawredd yn ei ostyngeiddrwydd yn y cylch teuluaidd. Nis gellir rhoddi pris ar ei esiampl berffaith ac agos atom i'r plant a'r ieuenctyd yn Nazareth hyd ddeg ar hugain oed. Tymhor ieuenctyd ydyw yr adeg i sefydlu cymeriad; ac adeg o beryglon ydyw hwn, pan y mae ymddadblygiad mewn perygl i ganlyn mewn balchder, hunanoldeb, ac amryw chwantau niweidiol. Ar y creigiau hyn y gwnaeth llawer un longddrylliad ar ei gymeriad yn ystod mordaith ieuenctyd. Dywed y Gair fod yr Iesu yn cynyddu mewn doethineb a chorpholaeth a ffafr gyda Duw a dynion ar lwybr ufudd-dod i orchymynion ei Dad, ac mewn ufudd-dod gostyngedig i reolau teulu crefyddol a duwiol yn Nazareth.

Pan yn ddeuddeg oed dygodd ei rieni ef gyda hwy i wyl y Pasc yn Jerusalem, yr hon a gynhelid tua diwedd Mawrth a dechreu Ebrill; a phan yr oedd tua deg a thriugain o filldiroedd o Nazareth i Jerusalem, siriolid hwynt ar y daith gan brydferthwch y blodeu. Adeg o symudiad o ddosbarth y plant i ddosbarth y bechgyn a'r genethod oedd yr adeg o ddeuddeg oed yn mysg yr

Iuddewon. Deuent yr adeg hon yn fwy uniongyrchol o dan y gyfraith, ac i deimlo mwy o'u cyfrifoldeb personol; a dyma yr adeg y dechreuent wisgo eu phylacterau. Teimlodd yr Iesu yn gartrefol iawn yn nhŷ ei Dad; yma y cafodd ei rieni ef, ar ol tridiau o chwilio am dano, yn eistedd yn nghanol y doctoriaid, yn gwrando arnynt ac yn eu holi. Yr oedd yr adeg hon wedi d'od i ymwybyddiaeth lawn o'i berthynas â'i Dad, ac o'i gyfrifoldeb iddo fel Cyfryngwr. Dywedodd wrth ei rieni, "Oni wyddoch chwi fod yn rhaid i mi fod yn nghylch y pethau a berthyn i'm Tad?" ac er ei ymwybyddiaeth o'i berthynas â'i Dad, ac o'i gyfrifoldeb iddo, bu yn ostyngedig iddynt am ddeunaw mlynedd. Preswyliodd yno mewn dinodedd am ddeng mlynedd ar hugain, yn cyflawni gwaith galwedigaeth gyffredin. Gofynid, gyda golwg arno, "Onid hwn yw y saer?" Mae ein Harglwydd wedi anrhydeddu a sancteiddio llafur a thlodi gonest. Yr oedd ef yn ddigon mawr i greu y nefoedd a'r ddaear, ac yr oedd ef yn ddigon mawr i ymostwng i wneyd aradr i lafurio y ddaear i'w pharotoi i dderbyn yr had. Dysgodd fod gwir fawredd, nid mewn rhwysg allanol, nid mewn segurdod a moethau, nid mewn balchder a hunan-glod, ond mewn llafur cywir a gonest, mewn diwydrwydd yn ymdrechu i gyflawni ein dyledswydd. Gosododd ein Gwaredwr anrhydedd ar lafur mewn amgylchiadau cyffredin; rhoddodd i ni esiampl anrhydeddus.

# PENOD II

*Genedigaeth Ioan Fedyddiwr—Ioan wedi ei anfon gan Dduw i barotoi ffordd yr Arglwydd—Ioan yn anghydymffurfio â'r byd—Gweinidogaeth Ioan o ran ei natur yn parotoi ffordd yr Arglwydd—Ioan fel pregethwr—Yr Iesu yn myned at Ioan i'w fedyddio ganddo—Ioan yn gweled ei anheilyngdod personol yn ngoleuni gogoniant Crist—Bedydd yr Iesu—Yr Ysbryd yn disgyn arno fel colomen—Y Tad yn cyhoeddi ei foddlonrwydd ynddo—Temtiad Crist.*

"Llef un yn llefain yn y diffaethwch, Parotowch ffordd yr Arglwydd; gwnewch yn uniawn ei lwybrau ef."—MATTH. iii. 3.

## IOAN YN PAROTOI FFORDD YR ARGLWYDD.

CYFFREDINOL yn y byd ydyw parotoadau gogyfer a dyfodiad personau o fri a defnyddioldeb. Y mae dyfodiad un o'r teulu brenhinol yn peri parotoadau drudfawr trwy lanhau ac addurno ffordd ei ddyfodiad, er mwyn rhoddi derbyniad anrhydeddus a phriodol iddo. Rhoddwyd addewid am ddyfodiad Brenin y nefoedd i'r byd er's pedair mil o flynyddoedd, ac ymddangosodd arwyddion a chysgodau o'i ddyfodiad i ddileu pechod trwy offrymu ei hun; ond Ioan a gododd Duw i barotoi y ffordd o'i flaen. Efe a gafodd y fraint oruchel o fod yn llef un yn llefain yn niffaethwch Judea, gan ddywedyd, "Parotowch ffordd yr Arglwydd; gwnewch yn uniawn ei lwybrau ef." Yr oedd Ioan, rhagredegydd Crist, yn fab Zechariah, yr hwn oedd offeiriad, ac Elizabeth, yr

hon oedd gyfnither i Mair, mam yr Iesu. Yr oedd Ioan yn Nazaread o'r groth, ac wedi ei roddi mewn atebiad i weddiau ei dad duwiol; a'r fath ydoedd arwyddion amgylchiadau ei enedigaeth fel y gofynai y bobl, "Beth fydd y bachgenyn hwn?" "A thithau, fachgenyn," prophwydodd ei dad wrtho, pan gyflawnwyd ef o'r Ysbryd Glân, "a elwir yn brophwyd i'r Goruchaf: canys ti a äi o flaen wyneb yr Arglwydd, i barotoi ei ffyrdd ef;" "ac ni chododd neb mwy nag Ioan Fedyddiwr," medd yr Iesu. Efe a ymbaratodd i gyflawni ei genadwri trwy flynyddoedd lawer o hunan-ddysgyblaeth yn yr anialwch. Ymwrthododd â moethau y byd, a chiliodd oddiwrtho i ddiffaethwch Judea i gymdeithasu â'r Arglwydd, er ei gymhwyso i barotoi ei ffyrdd ef; mewn cymdeithas wastadol â'r Arglwydd derbyniodd o'i Ysbryd ac o'i ddelw, a daeth i ymdeimlo â mawredd ei waith a natur ei genadwri. Wedi cael ei gymhwyso i'r gwaith, ymddangosodd i ddeffroi ei wrandawyr trwy bregethu edifeirwch a maddeuant pechodau. Pregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yr oedd y pregethwr hynod hwn, gan eu bedyddio yn yr Iorddonen. Gwaith na allasai ei gyflawni yn ei nerth ei hun oedd parotoi ffordd yr Arglwydd. Y mae yr hanes am dano ei fod yn meddu ar ddigon o wroldeb diysgog i ddyweyd gyda dylanwad wrth y bobl am iddynt edifarhau yn profi ei anfoniad oddiwrth Dduw. Yr oedd bedydd yn arwyddo glanhad trwy edifarhau, a derbyn maddeuant, a golchiad yr adenedigaeth. Parotodd y ffordd o flaen yr Iesu, nid trwy lanhau yn allanol, ac nid trwy addurniadau allanol, ond trwy lanhau ymaith bechodau trwy edifeirwch a maddeuant, a thrwy olchiad yr adenedigaeth gan yr Ysbryd Glân. Dynion wedi eu haileni oedd yn meddu cymhwysder i dderbyn a chroesawu y Messïah: cydwybodau wedi eu puro oddiwrth weithredoedd meirwon a feddai garedigrwydd i'r hwn a ddaeth i geisio a chadw y colledig.

Dywed Ioan wrthynt, "Dygwch, gan hyny, ffrwythau addas i edifeirwch." Dangoswch trwy eich gweithredoedd eich bod yn gwir edifarhau. Golyga edifeirwch gyfnewidiad yn y meddwl; ond y mae y cyfnewidiad yn un mor sylweddol fel y mae yn ymddangos yn y gweithredoedd. Cododd Duw Ioan, a rhoddodd iddo genadwri gyfaddas i'r oes; ac er nad oedd ef yn cydymffurfio âg arferion llygredig ei oes, ac er ei fod yn onest yn condemnio eu pechodau, daeth ato Jerusalem a holl Judea, a'r holl wlad oamgylch yr Iorddonen, a hwy a fedyddiwyd ganddo ef, gan gyffesu eu pechodau.

IOAN YN BEDYDDIO YR IESU.

Daeth yr Iesu o Galilea at Ioan i'w fedyddio ganddo. Nid oeddynt, y mae yn debyg, er eu bod yn berthynasau o ran y cnawd, wedi gweled eu gilydd ond yn ysbrydol: trwy olwg ysbrydol gwelai Ioan yr Iesu yn dyfod ar ei ol ef, a'i fod yn fwy nag ef, i'r hwn nid oedd efe deilwng i ddatod carai ei esgidiau. Darfu ei ymddangosiad estyn i Ioan ddatguddiad newydd o ogoniant y Gwaredwr fel Duw-ddyn. Yn yr olwg ar ei ogoniant teimlai ei anheilyngdod yn fwy. Dywedodd, "Y mae arnaf fi eisieu fy medyddio genyt ti; ac a ddeui di ataf fi?" Dywedodd yr Iesu, "Gad yr awrhon; canys fel hyn y mae yn weddus cyflawni pob cyfiawnder." Yn mhelydrau gogoniant yr Iesu gwelai Ioan ei anheilyngdod ei hun, a cheisiodd ymwrthod â gwneyd cais yr Iesu trwy ei fedyddio. "Gad yr awrhon," dywedodd yr Iesu. Yr hyn sydd weddus ydyw i bawb gyflawni ei waith ei hun. Fy ngwaith i heddyw ydyw dyfod atat ti, i gael fy medyddio genyt; dy waith di ydyw fy medyddio i heddyw. Yr oedd y Gwaredwr yn cymeradwyo ac yn cadarnhau gweinidogaeth Ioan trwy gymeryd ei fedyddio ganddo, fel ei ragredegydd ef, ac fel prophwyd diweddaf yr Hen Destament. Yr oedd ei fedydd ef yn ddatganiad



[YR IORDDONEN.]

o'i burdeb moesol, ac nid yn arwydd o edifeirwch a maddeuant. Yn yr amgylchiad hwn y disgynodd o'r nef, megis colomen, yr Ysbryd Glân arno ef; a thrwy hyny cyflawnwyd y brophwydoliaeth a'r addewid, yr hon a ddywed, "Ysbryd yr Arglwydd sydd arnaf; oherwydd yr Arglwydd a'm heneiniodd i efengylu i'r rhai llariaïdd: efe a'm hanfonodd i rwymo y rhai ysig eu calon, i gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai sydd rwym." Trwy ufuddhau i'r Iesu, gwelodd Ioan yr Ysbryd yn disgyn fel colomen o'r nef, ac yn dyfod arno ef; a chlywodd y llef o'r nef yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." "Nid wrth fesur y rhoddwyd iddo ef yr Ysbryd." Trwy roddiad yr Ysbryd iddo yr eneiniwyd ef i waith y weinidogaeth, ac eneiniad yr Ysbryd sydd yn cymhwyso ei weision i'w bregethu.

## TEMTIAD CRIST.

"Yna yr Iesu a arweiniwyd i'r anialwch gan yr Ysbryd i'w demtio gan ddiafol." "Ond wedi ei demtio yn mhob peth yr un ffunud a ninau, eto heb bechod."—MATTH. iv. 1; HEB. iv. 15.

Y mae ymneillduad, unigrwydd, a pheryglon anialwch yn hanes pobl a gweision yr Arglwydd. Profodd Joseph, gwaredwr y teulu, unigrwydd a themtasiynau yr anialwch. Arweiniwyd Moses, gwaredwr ac arweinydd cenedl, trwy anialwch i dir Midian, ac arhosodd yno ddeugain mlynedd. Profwyd cenedl Israel mewn anialwch ddeugain mlynedd. Treuliodd Ioan ran fawr o'i oes yn niffaethwch Judea. Ymneillduodd Paul i ryw anialwch am dair blynedd cyn myned allan i efengylu yn mysg y Cenhedloedd, anchwiliadwy olud Crist. Y mae anialwch a'i demtasiynau yn hanes ein Iachawdwr Iesu Grist.

Daeth Mab Duw yn Fab y dyn fel y deuai yn un ohonom ni, a chael ei demtio yn mhob peth yr un ffunud

a ninau. "Y sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid" oedd efe pan y daeth y temtiwr ato. Nid oedd raid iddo fod yn ddrwg i gael ei demtio. Yr oedd ef yn feddianol ar natur ddynol berffaith mewn undeb â pherson dwyfol, ac wedi ei wneuthur dan y ddeddf, ac felly yr oedd ef mewn sefyllfa i dderbyn ymosodiadau y diafol. Yr oedd i Berson o ddwyfol urddas, ac anfeidrol sanctaidd, cyfiawn, pur, a da, dderbyn ymosodiadau oddiwrth berson aflan, llygredig, dichellgar, a drwg, yn brawf a darostyngiad mawr. Nis gall y da gymodi â drwg: y rhai hyn a wrthwynebant eu gilydd. Prawf a darostyngiad ar ddyn da ydyw ei demtiad gan ddyn drwg. Pa faint mwy ydoedd i'r Sanct, y Cyfiawn, a'r Dihalog dderbyn ymosodiadau gan y diafol? Yn ei fedyddiad gan Ioan, derbyniodd eneiniad yr Ysbryd Glân, a chyhoeddodd ei Dad ei berthynas âg ef a'i foddlonrwydd ynddo. Dywed un awdwr (Geikie) mai y dydd hwnw oedd dydd genedigaeth Cristionogaeth. Yr oedd efe ar ol hyn yn gyflawn o'r Ysbryd Glân. Ymhyfrydai yn ei awyddfryd i wneuthur ewyllys ei Dad yn yr anialwch, ac ymborthai ar ei gymundeb â'i Dad. Y fath oedd awyddfryd ei ysbryd i ymaflyd a chyflawni ei waith fel ag i beri iddo anghofio ei anghenion naturiol. Yn mhen deugain niwrnod efe a newynodd; a daeth y temtiwr ato mewn adeg yr oedd ei ysbryd yn llawn o awyddfryd i ymaflyd yn ei waith, a phan y daeth arno chwant bwyd. Yn ol fel y rhydd Marc yr hanes, barna rhai i'r diafol ei demtio ar hyd y deugain niwrnod. Os oedd y diafol yn edrych am ei gyfleusdra, yn nherfyn y deugain niwrnod y gwnaeth ef, ac y gwelodd y cyfleusdra mwyaf manteisiol i ymosod arno.

Yn y temtiad dangosodd ufudd-dod ac ymgysegriad i'w Dad trwy ei ymwrthodiad â phob mwyniant personol, anrhydedd personol, a meddianau personol. "Os Mab

Duw wyt ti," dywedodd y temtiwr wrtho, "arch i'r cerig hyn fod yn fara. Ac yntau a atebodd ac a ddywedodd, Ysgrifenwyd, Nid trwy fara yn unig y bydd byw dyn, ond trwy bob gair a ddaw allan o enau Duw." Cleddyf yr Ysbryd ydyw arf ymosodol ein Gwaredwr yn erbyn y temtiwr; a chydnabyddai awdurdod y Gair, a dengys yma fod y bywyd yn dibynu mwy ar Dduw nag ar fara. Mwy gwerthfawr i'r Israeliaid na chyflawnder o fara i wynebu anialwch noeth a thlawd ydoedd addewid y digelwyddog Dduw, yr hwn oedd yn abl i roddi iddynt fanna o'r nef i'w fwyta. Efe sydd yn rhoddi bywyd ac anadl a phob peth oll. Un o wrthddrychau crëedig y Gair dwyfol i gynal bywyd ydyw y bara: ohono ef, a thrwyddo ef, ac iddo ef y mae pob peth; trwy ei air ef, yr hwn ydyw ei ewyllys a'i allu yn mhob peth, yr ydym ni yn byw; canys ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bod: "pob rhoddiad daionus, a phob rhodd berffaith, oddi uchod y mae, yn disgyn oddiwrth Dad y goleuni, gyda'r hwn nid oes gyfnewidiad, na chysgod troedigaeth." Ei drugaredd ef sydd yn ein cadw ni yn fyw, ac nid y bara yn unig. Yn ei ymosodiad saif y temtiwr ar gyhoeddiad y Tad o'i berthynas âg ef—"Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd," ac ymdrecha gymylu ei berthynas â'i Dad.

Yn yr ail ymosodiad, cymerodd ef ac a'i gosododd ar binacl y deml, a dywedodd wrtho, "Os Mab Duw wyt ti, bwrw dy hun i lawr." Dangos i'r bobl dy fod yn disgyn o'r nef trwy fwrw dy hun i lawr. Gallai fod yno wyl yn Jerusalem, ac ynddi lawer o bobl. Dywedir fod cynifer o bobl yn disgwyl y disgynai y Messïah yn sydyn o'r nef, yn ngolwg y bobl. "Bwrw dy hun i lawr," dywed; gwna arddangosiad o'th allu dwyfol yn ngolwg y bobl: "canys ysgrifenwyd." Gan dy fod mor hoff o adnodau, gallaf finau ddyweyd adnod. Wrth weled yr Iesu yn gorchfygu trwy y Gair, y mae yntau yn ei

ddefnyddio. "Ysgrifenwyd," meddai, "y rhydd efe orchymyn i'w angelion am danat; a hwy a'th ddygant yn eu dwylaw, rhag taro ohonot un amser dy droed wrth gareg." "Beth yw hyn?" gofynodd Esgob Hall. "Satan â'r Beibl dan ei fraich, a'i eiriau yn ei enau, yn ymosod ar ein Gwaredwr." Wele adnod yn ngenau y diafol, a cheisia ei defnyddio i'w amcanion ei hun. Y mae Satan yntau yn ymrithio yn angel y goleuni; ond yn fwy beiddgar yma, y mae yn ceisio ymrithio yn Fab Duw. Gall fod yn ein genau ninau adnodau, ac eto heb fod ddim gwell na'r diafol. Nid heb amcan yn ddiau y gadawodd ef allan o'r adnod, "Dy gadw yn dy holl ffyrdd." Gadawodd y rhan uchod o'r adnod allan, y mae yn debyg, rhag na byddai iddo awgrymu i feddwl yr Iesu nad oedd taflu ei hun i lawr, i wneyd arddangosiad ohono ei hun, yn un o'i ffyrdd ef. Dengys ei gyfrwysdra a'i ddichell pan yn defnyddio adnodau. "Ysgrifenwyd drachefn," medd yr Iesu, "Na themtia yr Arglwydd dy Dduw." Mwy yn ei olwg ef oedd boddloni Duw na gwneyd arddangosiad ohono ei hun yn ngolwg y bobl.

Yn y drydedd demtasiwn, y mae y diafol yn ymddangos iddo megis duw y byd hwn, gan ei ddwyn ef i fynydd uchel. Cynygia iddo holl deyrnasoedd y byd, os syrthiai i lawr a'i addoli ef. Yn hanes tad y celwydd amlwg ydyw ei ymdrech i guddio ei gelwyddau a'i dwyll â rhith o wirionedd. Nid oedd ganddo hawl gyfreithlawn ar deyrnasoedd y byd i'w cynyg i'n Gwaredwr. Trawsfeddianu y mae ef; yspail anghyfiawn yn ei law ef ydyw teyrnasoedd y byd; ac yn hyn yn arbenig y mae ei blant yn debyg iddo. Cawn fod yr Arglwydd Iesu yn cydnabod ei feddiant anghyfiawn trwy ei alw deirgwaith yn dywysog y byd hwn. Geilw Paul ef hefyd yn dduw y byd hwn, ac yn dywysog llywodraeth yr awyr. Dywed y Gair fod Crist wedi d'od i'r byd i ddinystrio yr hwn

oedd â nerth marwolaeth ganddo, hyny yw, diafol. Teyrnasu i farwolaeth y mae efe. Y drugaredd fwyaf â theyrnasoedd y byd ydyw eu cymeryd oddiarno. Defnyddia bob gallu sydd yn ei law i ddinystrio ei ddeiliaid. Tynu tua dinystr y mae ei bleserau, ymddwyn yn galed y mae at ei weision, a chaled ydyw y ffordd i'w ganlynwyr fyned ar ei ol. "Ffordd y troseddwyr sydd galed." Marwolaeth ydyw terfyn a diwedd ei wasanaeth. Ymdrechu cael dynion i bechu ydyw ei brif ymdrech yn ei deyrnas. Y mae ei wasanaeth yn dibenu mewn marwolaeth, oherwydd cyflog pechod yw marwolaeth." Y mae ei ffordd yn ymddangos yn uniawn yn ngolwg y rhai sydd arni, ond ei diwedd hi yw ffyrdd angau. Yn y trydydd ymosodiad ar yr Iesu, y mae ef yn ymdrechu i guddio ei dwyll, ei anghyfiawnder, a'i gelwyddau, trwy ymddangos yn dduwiol iawn, a gofyn iddo syrthio i lawr a'i addoli ef. Y mae wedi myned mor hyf, anystyriol, a rhagrithiol, fel y dywed ein Hiachawdwr wrtho, "Dos ymaith, Satan, canys ysgrifenwyd, Yr Arglwydd dy Dduw a addoli, ac ef yn unig a wasanaethi." Gwnaeth ymosodiad gorchfygol arno pan y ceisiodd ef fyned yn dduwiol, a cheisio myned yn wrthddrych addoliad yn lle Duw. Yna y gadawodd y diafol ef, yn ol Luc, dros amser. Gwnaeth aml ymosodiad arno ar ol hyn, trwy ddynion drwg a thrwy ysbrydion drwg, hyd nes yr enillodd ef lwyr oruchafiaeth arno ar y groes. Boddlonodd yr Iesu y Tad yn yr anialwch, ac yn ei oruchafiaeth ar y gelyn. "Wele, angelion a ddaethant, ac a weiniasant iddo." Yn ddiau, cenhadwyd hwy gan y Tad i weini arno, yr hyn a dystiolaethai ei foddlonrwydd ynddo yn ei demtiad. Ni ddywed y Gair o ba natur ydoedd eu gwasanaeth iddo. Os darparu ymborth a ofynid iddynt, teimlent hi yn fraint cael gwneyd arlwy i Awdwr iachawdwriaeth yn ei angen.

## PENOD III.

---

*Ioan yn pregethu Crist wedi cael golwg arno yn ei fedydd —Yr Iesu yn myned at Ioan o'r anialwch, ac yn datguddio ei hun iddo fel Oen Duw—Dysgyblion cyntaf yr Iesu—Ei wyrth gyntaf—Pasg cyntaf ein Harglwydd—Myned i'r Pasg i Jerusalem yn mlwyddyn gyntaf ei weinidogaeth—Ei ymddiddan â Nicodemus—Yn gyru allan o'r Deml y prynwyr a'r gwerthwyr—Efe a'i ddysgyblion yn Judea, tua glanau yr Iorddonen—Tystiolaeth ychwanegol Ioan am dano—Yr Iuddewon a'r Phariseaid yn Judea yn cenfigenu at ei lwyddiant—Yn myned i Galilea trwy Samaria.*

---

PARHAODD Ioan i dystiolaethu am yr Iesu tua glanau yr Iorddonen ar ol ei fedyddio, ac wedi derbyn tystiolaeth gan y Tad, yr hwn a ddywedodd wrtho, "Ar yr hwn y gwelych yr Ysbryd yn disgyn, ac yn aros arno, hwnw yw yr hwn sydd yn bedyddio â'r Ysbryd Glân." Dywed, "A mi a'i gwelais, ac a dystiolaethais mai hwn yw Mab Duw." Mae y bobl sydd wedi gweled gogoniant Iesu Grist yn ostyngedig, ac yn rhoddi y gogoniant iddo ef, ac nid iddynt eu hunain. Anfonodd yr Iuddewon o Jerusalem offeiriaid a Lefiaid at Ioan gyda'r cwestiwn, "Pwy wyt ti?" Yr oedd Ioan wedi esgyn i gymeradwyaeth uchel gyda'r bobl, a gofynent beth oedd ei honiadau? Dywedodd, "Nid myfi yw; ond y mae un yn sefyll yn eich plith, yr hwn nid adwaenoch chwi; fy ngwaith i ydyw tystiolaethu am dano ef; fy mraint oruchel i ydyw mynegi fod Crist yn

dyfod ar fy ol i." Os parotoi ffordd yr oedd efe, yr oedd yn gwneyd y cwbl i Grist; ac yn yr olwg ar ei ogoniant teimlai ei anheilyngdod yn fawr, ac meddai, "Nid ydwyf deilwng i ddatod carai ei esgid."

"Tranoeth Ioan a ganfu yr Iesu yn dyfod ato." Y mae yr Iesu yn rhoddi amlygiad newydd ohono ei hun i'w bobl yn nghyflawniad ei waith ef. Tra yn tystiolaethu am dano, Ioan a ganfu yr Iesu yn dyfod ato i roddi amlygiad newydd ohono ei hun. Daeth ato o'r anialwch, wedi gorchfygu temtasiynau y diafol, ac wedi derbyn adloniad gan angelion. Yr olwg a gafodd arno oedd fel Oen Duw i dynu ymaith bechodau y byd. Meddai, "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Os oes rhywun yn teimlo ei euogrwydd yn faich rhy drwm iddo ei ddwyn, wele un a'i ysgwydd yn abl i gymeryd y baich, a'i symud i dir anghof tragywyddol.

DYSGYBLION CYNTAF YR IESU.

"Tranoeth drachefn y safodd Ioan, a dau o'i ddysgyblion." Canfyddwn yn yr hanes hwn weinidogaeth Ioan yn cael ei hamcan goruchel trwy arwain dau o'i ddysgyblion at Grist; ac amlwg yn yr hanes ydyw symlrwydd dechreuad llwyddiant yr Iesu yn sefydlu ei deyrnas yn y byd. Dacw ddau o ddysgyblion Ioan gydag ef pan y gwelodd ef y Gwaredwr drachefn fel Oen Duw, a chlywodd y ddau ef yn llefaru y geiriau, "Wele Oen Duw," a throisant eu hwynebau at yr Iesu. Gofynodd, "Beth yr ydych yn ei geisio?" Nid oeddynt yn gallu ateb y cwestiwn: nid oeddynt yn gallu dyweyd eu neges; ond dangosasant eu bod yn gywir ac awyddus i gael gwybod yn fanylach am dano. "Rabbi," gofynent, "pa le yr wyt ti yn trigo?" Croesawodd hwynt ato ei hun trwy ddyweyd, "Deuwch a gwelwch." Hwy a aethant gydag ef, "ac arhosasant gydag ef y diwrnod hwnw."

Diwrnod nad anghofir yn eu hanes ydoedd hwn, pryd y gwnaed cwlwm rhyngddynt nas gallodd neb na dim ei ddatod, ac ni ddatodir ef yn dragywydd. Aros gyda'r Iesu ydyw eu hanes ar ol hyn. Yn yr olwg gyntaf a gawsant arno rhoddodd ddatguddiad ohono ei hun iddynt fel y bu iddynt ei adnabod. Andreas ac Ioan oedd y ddau ddysgybl cyntaf o'i ddysgyblion ef. Y mae Ioan yn ei efengyl yn dewis gadael allan ei enw ei hun. Os nad oeddynt yn gallu mynegi eu neges pan y troisant eu hwynebau ato, wedi aros gydag ef y diwrnod hwnw gallent dystiolaethu, "Nyni a gawsom y Messïas." Dygodd Andreas ei frawd ei hun, Simon, at yr Iesu. Wedi d'od o hyd i'r Ceidwad ei hun, arweiniodd ei frawd ato. Mynegodd yr Iesu i Simon fath un ydoedd. "Ti yw Simon, mab Jonah," meddai, "mab y golomen ofnus sydd yn ymguddio rhwng y creigiau. Yr ydwyf yn rhoddi enw newydd i ti: ti a elwir Cephas, yr hyn a gyfieithir careg. Yn lle bod fel colomen ofnus rhwng y creigiau, gwnaf di yn graig." Ar ol hyn gwnaeth ef yn llond yr enw newydd a roddodd iddo. Ar ddydd y Pentecost safodd Petr fel y graig.

Tranoeth trodd yr Iesu ei wyneb tua Galilea, a dywedodd wrth Phylip, yr hwn oedd o Bethsaida, o ddinas Andreas a Phetr, "Dilyn fi." Gallem yn briodol gasglu i Andreas a Phetr ddyweyd am dano wrth Phylip, ac iddo gredu y dystiolaeth am yr Iesu, fel y cafodd ef yn barod i dderbyn y gorchymyn, "Dilyn fi." Mynega tystiolaeth Phylip wrth Nathanael iddynt gael gwir adnabyddiaeth ohono yn y datguddiad cyntaf a roddodd iddynt ohono ei hun. Dywedodd Phylip wrth Nathanael, "Cawsom yr hwn yr ysgrifenodd Moses yn y gyfraith a'r prophwydi am dano, Iesu o Nazareth, mab Joseph." Er nad oedd Nathanael yn meddu doniau neillduol, yr oedd ynddo rinweddau oedd yn ei wneyd ef a phawb

arall yn gymeradwy a hoff gan yr Iesu, sef didwylledd, unplygrwydd, cywirdeb, gonestrwydd, a pharodrwydd i gredu ac ufuddhau.

PUMP O DDYSGYBLION IOAN YN MYNED AT YR IESU.

Yn ystod tri diwrnod, trodd pump o ddysgyblion Ioan eu hwynebau at y Gwaredwr,—Andreas, Ioan, Petr, Phylip, a Nathanael. Tybia rhai i Ioan ddwyn Iago ei frawd at yr Iesu fel y dygodd Andreas ei frawd Simon ato. Os felly, yr oedd nifer ei ddysgyblion yn chwech y pryd hwn. Dewisodd y rhai hyn i'w dysgyblu at waith, gan roddi iddynt yn gyntaf oll ddatguddiad ohono ei hun fel eu hunig Waredwr, ac fel sylwedd y cysgodau, yr addewidion, a'r prophwydoliaethau am dano. Fel rhai wedi ei adnabod dywedent, "A ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megis yr unig-anedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd." Ac o'r rhai hyn dewisodd dri, Petr, Iago, ac Ioan, i fod yn dystion iddo mewn amgylchiadau neillduol, yn ei yrfa ar y ddaear. Ioan oedd un o'r ddau gyntaf a drodd eu hwynebau ato, ac efe o'r apostolion a gafodd y fraint o'i wasanaethu hwyaf o ran amser yn y byd. "Yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu" y geilw ef ei hun. Yr oedd Ioan yn medru agoshau at fynwes yr Iesu, i gael allan ddirgelwch y fynwes ddwyfol. Pwysai ar fynwes yr Iesu pan y gwnaeth ef yr hysbysiad difrifol, "Yn wir y dywedaf wrthych y bradycha un ohonoch fi;" a thra yn pwyso ar fynwes yr Iesu gofynodd, "Arglwydd, pwy yw efe?" Y bobl sydd yn byw yn agos at yr Arglwydd, megis yn pwyso ar ei fynwes, sydd yn llwyddo i gael allan y dirgelwch sydd ynddi. Mynega efengyl Ioan wirioneddau a dirgeledigaethau o fynwes ddwyfol. "Ni welodd neb Dduw erioed: yr unig-anedig, yr hwn sydd yn mynwes y Tad, hwnw a'i hysbysodd ef." Trwy Ioan yr hysbysodd ef fwyaf o wirioneddau y fynwes ddwyfol. Dwyfol-

deb ei Berson, ei undeb â'r Tad a'r Ysbryd Glân, ei anfoniad gan y Tad, a dwyfoldeb ei waith ydyw gwirioneddau blaenaf efengyl Ioan. Datguddiad Iesu Grist i Ioan yn Ynys Patmos ydyw prophwydoliaeth fawr y Testament Newydd, yr hwn sydd yn llawn o ddirgelwch, ac a fynega rwystrau a llwyddiant ei deyrnas gyfryngol.

## EI WYRTH GYNTAF.

"Ewch a mynegwch i Ioan y pethau a glywch ac a welwch."—MATTH. xi. 4.

Llawn ydyw hanes yr Iesu o dystiolaethau am ei ddwyfoldeb mewn geiriau a gweithredoedd. Yr oedd ei drugaredd ar ei holl weithredoedd, a chadw eneidiau fel amcan ei ddyfodiad i'r byd wedi ei gerfio ar bob llinell o hanes ei fywyd. "Credwch y gweithredoedd," meddai wrth yr Iuddewon. Mae gwyrthiau Crist yn arwyddion, rhyfeddodau, a gweithredoedd. Ni lefarodd dyn erioed fel efe, ac ni wnaeth neb weithredoedd fel efe. Egwyddorion ei natur ydyw egwyddorion ei deyrnas. Dysgodd egwyddorion ei deyrnas trwy ei eiriau a thrwy ei weithredoedd. Ysgrifenodd mewn llythyrenau breision ar ei weithredoedd dosturi ei gariad tragywyddol. Clychau ei gariad ydoedd ei weithredoedd. Cyfeiriai mynegfys ei weithredoedd ato ei hun fel Ceidwad eneidiau. Cyflawnodd y wyrth gyntaf yn y cyhoedd yn Cana Galilea, y trydydd dydd wedi iddo dd'od i Galilea, neu er pan y cyfarfyddodd â Phylip a Nathanael. Gwahoddwyd ef a'i fam a'i ddysgyblion i briodas eu cydnabod. Gallai fod perthynas naturiol rhwng ei fam â hwy. Treuliodd Ioan, ei ragflaenydd, ei ddyddiau mewn gerwindeb edifeirwch ac unigrwydd anialwch. Ciliodd o amgylchiadau beunyddiol dynolryw i'r diffaethwch, gan ymwrthod â mwynderau y byd er mwyn cymhwyso ei hun i gyflawni ei genadwri. Daeth ein Hiachawdwr i ganol amgylchiadau beunyddiol a chyffredin bywyd, ac

a'u sancteiddiodd i'w wasanaeth a'i ogoniant ei hun. Cartrefodd yn nghanol cysylltiadau bywyd i'w puro a'u hanrhydeddu. Cawn ef yma yn anrhydeddu ac yn cymeradwyo glân briodas â'i bresenoldeb ei hun; ac yn cydnabod anrhydedd eu gwledd a'u llawenydd diddrwg trwy gyflawni gwyrth i gwblhau y wledd. Dysgodd yn yr amgylchiad hwn y gallwn ni fyw i'r Arglwydd mewn a thrwy amgylchiadau cyffredin bywyd, a'i anrhydeddu ef trwy fwynderau bywyd. Eglurodd yr Iesu ei ogoniant i'w ddysgyblion yn y briodas hon. Dysgodd yma hefyd fod ei gysylltiadau dwyfol ac ysbrydol i gael y flaenoriaeth ar ei gysylltiadau naturiol. "Nid oes ganddynt mo'r gwin," meddai Mair. Atebodd yntau, "Beth sydd i mi a wnelwyf â thi, wraig? ni ddaeth fy awr i eto." Yr oedd hawliau ei Dad yn caeI y flaenoriaeth ar hawliau y fam.

"Wedi hyn efe a aeth i waered i Capernaum." Safai y ddinas hon ar lan orllewinol môr Galilea. Cartrefodd yr Iesu lawer yn ystod tair blynedd diweddaf ei oes yn y ddinas hono. Yr oedd Capernaum yn lle y gwneid llawer o fasnach. Y mae llawer o'r cyffelybiaethau a ddefnyddiodd efe wedi eu cymeryd o drafnidiaeth Capernaum a'r gymydogaeth. Yma yr iachaodd wâs y canwriad, ac y cyfododd ferch Jairus; ac wrth y dollfa a berthynai i'r ddinas hon yr oedd Matthew; yma hefyd yr oedd cartref Petr, Iago ac Ioan, ac Andreas. Yn Capernaum a'r gymydogaeth cyflawnodd lawer o'i weithredoedd nerthol, yr hon trwy hyny a ddyrchafwyd megis hyd y nef; ond trwy ei chamddefnydd o'i manteision crefyddol, a dynwyd i lawr megis hyd yn uffern. Nid oes sicrwydd heddyw pa le y safai hi.

## YN Y PASG CYNTAF.

Wedi aros ychydig o ddyddiau yn Capernaum, efe a'i ddysgyblion a aethant i fyny i Jerusalem, i wyl y Pasg.

Cynhelid y Pasg yn mis Ebrill; ac yn Palestina yr adeg hon ar y flwyddyn yr oedd y blodau yn prydferthu ochrau y ffyrdd a'r llwybrau oddiyno i Jerusalem, a'r adar yn canu mawl i'w Creawdwr, a llenwid y ffordd a'r ffyrdd gan bobl a'u hanifeiliaid yn cyfeirio tua Jerusalem i gadw gwyl y Pasg. Siriolid ein Hiachawdwr yn ddiau gan brydferthwch y blodau, a chan amrywiol ganiadau yr adar, gyda'i ddymuniad i dalu ymweliad â thŷ ei Dad yn Jerusalem. Ond wedi cyrhaedd y deml, cynhyrfwyd ei eiddigedd sanctaidd trwy weled tŷ ei Dad wedi ei wneuthur yn dŷ marchnad. Cafodd yn nghyntedd y deml, yr hwn ydoedd ran ohoni, rai yn gwerthu ychain, a defaid, a cholomenod, a'r newidwyr arian yn eistedd. Yr oedd yr archoffeiriaid a'r offeiriaid, er mwyn elw bydol, wedi caniatau i'r prynwyr a'r gwerthwyr gadw marchnad yn nghyntedd y deml. Gosodent wedd grefyddol ar y farchnad, gan fod y pethau a werthid ynddi yn angenrheidiol, ac yn fanteisiol i'r rhai a ddeuai o bell i'r Pasg; ond elw bydol oedd uwchaf mewn golwg gan benaethiaid crefydd a chan y marchnatwyr. Defnyddient hawliau a manteision crefydd i enill y byd; halogent deml yr Arglwydd â'u traed anianol. Wele yr addfwyn Oen yn gwneyd fflangell o fân reffynau, ac yn gyru allan o'r deml y bobl a'u hanifeiliaid gyda hwy, y rhai oedd yn darostwng hawliau tŷ yr Arglwydd, a hawliau crefydd, er mwyn gwneyd elw bydol iddynt eu hunain, ac a dywalltodd allan arian y newidwyr arian, ac a ddymchwelodd y byrddau. Newid arian i Iuddewon o wledydd ereill, fel y gallent dalu yr haner sicl dros bob un, oedd y ffordd i elwa gan y newidwyr arian.

### YN DANGOS ZEL TY EI DAD.

Dysgodd i ni lywodraethu eiddigedd a zel trwy beidio gwneyd colled i neb. Rhag peri colled i'r rhai oedd yn gwerthu colomenod dywedodd, "Dygwch y rhai hyn

ymaith; na wnewch dŷ fy Nhad yn dŷ marchnad." Y cymeriad uchaf a ellir ei roddi i'r goreu o ddynion ydyw, "gwas ffyddlon yn yr holl dŷ." Ond y mae ein Gwaredwr yn Fab ar ei dŷ ei hun: efe ydyw etifedd y tŷ, ac etifedd pob peth. Nis gallodd y bobl oedd yn gwneyd tŷ ei Dad yn dŷ marchnad oddef ei ddyfodiad i'r deml y waith hon, oherwydd ymddangosodd fel tân y toddydd, ac fel sebon y golchyddion, ac fel purwr a glanhawr arian. I wneyd lle iddo ei hun yn y deml gyrodd allan y bydolddynion hyn, y rhai oedd yn darostwng hawliau ac anrhydedd y tŷ. Gallasai eu goddef yn y farchnad. Parod fuasai i gymeradwyo eu gwaith trwy iddo gael ei wneyd yn briodol ac mewn lle priodol; ond ni allai eu goddef yn nheml ei Dad. Y mae ef yn abl i wneyd calon ddu yn deml lân. Da i ni feddwl hyny; ond y peth cyntaf a wna wedi d'od i fewn i'r galon ydyw gyru allan lawer o bethau sydd yn darostwng ei hawliau ef arnom, fel y byddo i ni offrymu i'r Arglwydd mewn cyfiawnder. "Sanctaidd yw teml Duw, yr hon ydych chwi," meddai Paul wrth y saint yn Corinth. Cadarnhaodd ei zel a'i eiddigedd dros dŷ ei Dad ffydd y dysgyblion, trwy weled iddo gyflawni y brophwydoliaeth, "Zel dy dŷ a'm hysodd i."

## TEML YSBRYDOL TRWY EI GROESHOELIAD.

"Yr hwn y mae y wyntyll yn ei law, ac efe a lwyr-lanha ei lawr dyrnu."—MATTH. iii. 12.

Dangosodd trwy ei waith yn glanhau y deml oddiwrth ddynion bydol fod y wyntyll yn ei law, ac y llwyr-lanha efe ei deml, sef ei eglwys, yn nydd y farn. Trwy ei farwolaeth yr oedd efe yn myned i adeiladu ei eglwys. Efe ei hun ydyw sylfaen y deml hon, ac efe ydyw y gonglfaen. Gofynodd yr Iuddewon iddo, "Pa arwydd

yr wyt yn ei ddangos i ni, gan dy fod yn gwneuthur y pethau hyn?" "Dinystriwch y deml hon," meddai, "ac mewn tridiau y cyfodaf hi." Sychedig trwy eu hanghrediniaeth oedd yr Iuddewon am arwyddion, ac ni foddlonid eu syched afiachus am arwyddion, a'u hanghrediniaeth, ond trwy groeshoelio Arglwydd y gogoniant. Nid oeddynt hwy yn gweled pen draw eu hanghrediniaeth. Eithaf nôd eu hanghrediniaeth oedd ei groeshoelio ef, a'i ladd ef. "Dinystriwch," meddai, "y deml hon," sef teml ei gorph; "croeshoeliwch fi a lleddwch fi, mi a gyfodaf mewn tridiau; a thrwy fy nghroeshoeliad a'm hadgyfodiad mi a wnaf deml ysbrydol a thragywyddol ar sail cariad, gras, a gwirionedd; gwnaf hi yn bur a sanctaidd, heb un dienwaededig nac aflan o'i mewn." Nid hir iawn wedi iddynt groeshoelio yr Iesu y bu y deml yn Jerusalem heb ei dinystrio. Yr oedd eu gwrthodiad hwy ohono ef trwy ei groeshoelio yn arwain i ddinystr y deml yn Jerusalem; a thrwy ei groeshoeliad a'i farwolaeth yr adeilada efe deml iddo ei hun, yr hon a fydd yn enw ac arwydd tragywyddol iddo, yr hwn nis torir ymaith.

Trwy yr arwydd a wnaeth efe y pryd hwn yn Jerusalem, llawer a gredasant ynddo; ond credinwyr arwynebol oeddynt. Daearol ydoedd eu syniadau am deyrnas y Messïah, ac edrychent yn ddaearol ar ei wyrthiau, y rhai a arwyddent Waredwr a theyrnas ysbrydol. Yr oedd adnabyddiaeth yr Iesu o'r credinwyr arwynebol hyn yn ei wneyd yn wyliadwrus rhag ymddiried iddynt am dano ei hun, am yr adwaenai efe hwynt oll. Yr oedd ganddo fwy o ymddiried yn ei ddysgyblion o Galilea, y rhai oedd wedi ei adnabod a chredu ynddo. Y mae ef yn gwybod beth sydd mewn dyn. Yr ydym ni yn edrych ar yr allanol: y mae ef yn edrych ac yn gweled egwyddorion ac ysgogiadau y galon. Credu â'r galon sydd yn gymeradwy ganddo ef.

## YMDDIDDAN A NICODEMUS.

"Hwn a ddaeth at yr Iesu liw nos."—IOAN iii. 2.

Darfu ei weithredoedd nerthol yn Jerusalem y pryd hwn ddylanwadu ar Nicodemus, penaeth yr Iuddewon, fel yr aeth efe ato liw nos. Yr oedd ef mewn swydd gyfrifol ac anrhydeddus yn ngolwg yr Iuddewon, sef aelod o'r cyngor a elwid Sanhedrim. Ofnai golli ei swydd yn ddiau trwy fyned at yr Iesu yn y dydd; ond fe dalodd yn dda iddo fyned at yr Iesu, er ei fod yn ofni. Derbyniodd trwy ymddiddan âg ef yr hyn a'i gwnaeth ef yn un o'i gymwynaswyr diweddaf iddo. Yr oedd Nicodemus yn un o'r ddau foneddwr y mae gan anwyliaid yr Iesu ddwfn barch iddynt, y rhai a dalodd y gymwynas ddiweddaf i'n Harglwydd. Yn ddiymdroi cyfeiriodd yr Iesu yr ymddiddan rhyngddo â Nicodemus at y mater mwyaf angenrheidiol iddo wrtho, yr hwn oedd wedi ymfoddloni ar ymwneyd allanol a gwybodaeth ffurfiol o bethau crefydd. Meddai, "Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddieithr geni dyn drachefn ni ddichon efe weled teyrnas Dduw; yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd, a'r hyn a aned o'r Ysbryd sydd ysbryd." Yma y mae gwahaniaeth rhwng dyn anianol a dyn ysbrydol; nid ydyw y dyn anianol wedi derbyn dim ond a dderbyniodd trwy enedigaeth naturiol. Y mae y dyn ysbrydol wedi derbyn a phrofi cyfnewidiad trwy adenedigaeth a'i gwnaeth ef yn ddyn newydd, ac yn ddyn ysbrydol. Y mae yr Athraw Mawr yn mynegi yn eglur ac yn sicr yn yr ymddiddan hwn yr angenrheidrwydd am gyfnewidiad mewnol ac ysbrydol, trwy enedigaeth o Dduw, i fyned i mewn i deyrnas Dduw. "Na ryfedda ddywedyd ohonof fi wrthyt," meddai, "y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn." Gwna ddefnydd o'r gwynt i osod allan y dyn newydd, neu gymeriad y dyn sydd wedi ei aileni. "Y

mae y gwynt yn chwythu lle y myno, ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod nac i ba le y mae yn myned ; felly y mae pob un a'r a aned o'r Ysbryd." Y mae y gwynt yn gweithredu yn anorchfygol ; nid oes dim yn rhwystro i'r gwynt chwythu ; y mae y gwynt yn chwythu lle y myno ; y mae y gwynt yn gwneyd ei weithrediad anorchfygol yn amlwg—" a thi a glywi ei swn ef." Y mae ei weithrediad yn cael ei brofi. Y mae tarddiad a mynediad allan y gwynt yn ddirgelwch—" ni wyddost o ba le y mae yn dyfod nac i ba le y mae yn myned." Felly y mae pob un a aned o'r Ysbryd : y mae yn yr hwn a aned o'r Ysbryd allu anorchfygol i wasanaethu Duw ; y mae gweithrediad y gallu hwnw yn cael ei wneyd yn amlwg yn y cymeriad i'r byd. Y mae ei darddiad a'i fynediad allan o'r byd yn ddirgelwch i'r byd--" ni wyddost o ba le y mae yn dyfod nac i ba le y mae yn myned."

Gofynodd Nicodemus iddo, " Pa fodd y dichon y pethau hyn fod?" " A wyt ti yn ddysgawdwr yn Israel ac ni wyddost y pethau hyn?" gofynodd yr Iesu iddo ; " a wyt ti yn drydydd yn y Sanhedrim ac ni wyddost y pethau hyn? a wyt yn gallu proffesu bod yn benaeth yr Iuddewon ac ni wyddost am yr angenrheidrwydd am gyfnewidiad trwy enedigaeth drachefn?" Y radd gyntaf, dywedir, yn y Sanhedrim oedd llywydd y cyngor, yr islywydd yn ail, a'r dysgawdwr yn drydydd. Yr oedd Nicodemus, gan hyny, yn drydydd yn y cyngor a ystyrid yn uchel gan yr Iuddewon ; ond er bod yn drydydd mewn safle yn yr eglwys Iuddewig, yr oedd yn hollol anwybodus yn mhethau gwir grefydd. Y mae yn bosibl i ni esgyn i safle uchel yn eglwys Dduw heb fod yn rhan ohoni, ac heb wybod dim am ei nerth achubol. Ni wyddai y dysgawdwr hwn yn Israel fod cyfnewidiad yr adenedigaeth yn angenrheidiol i feddu gwybodaeth ysbrydol, ac i brofi pethau nefol. " Os dywedais i chwi

bethau daearol a chwithau nid ydych yn credu, pa fodd, os dywedaf i chwi bethau nefol, y credwch." Nid oedd Nicodemus yn deall y geni drachefn fel yr hyn oedd yn angenrheidiol i fyned i mewn i deyrnas Dduw, ac i fod yn rhan ohoni. Pethau daearol y geilw ef y geni drachefn. Yr hyn sydd yn golygu y gweithrediadau yn y dyn, ac sydd yn angenrheidiol i fyned i mewn i deyrnas Dduw, ac sydd i gael eu gwneyd ar y ddaear, anrhydedd ar ein byd ni ydyw cael bod yn weithdy i'r gwaith angenrheidiol hwn. Gwaith i gael ei wneyd ar y ddaear ydyw aileni. Os y gadawn ni y ddaear heb ein haileni nid oes obaith i ni ei brofi mwyach. Gwaith sydd yn cael ei wneyd ar y ddaear ydyw y goruchwyliaethau mewnol hyn. Pethau daearol a eilw yr hyn a osodir allan trwy enedigaeth; ac oddiwrth y pethau daearol y mae yn esgyn at y pethau nefol—pethau mwy ysbrydol, y rhai a ddatguddid trwy anfoniad yr Ysbryd Glân wedi i'r Iesu esgyn i'r nef. Cyfeiria at ei Berson ei hun fel ffynonell ac fel cyfrwng datguddiad y pethau nefol. "Ac ni esgynodd neb i'r nef oddieithr yr hwn a ddisgynodd o'r nef, sef Mab y dyn, yr hwn sydd yn y nef." Y mae y pethau nefol yn cynwys yr achos gwreiddiol, haeddianol, ac offerynol ein hiachawdwriaeth. Cariad tragywyddol Duw ydyw y ffynonell fawr o ba un y tarddodd ein hiachawdwriaeth; "canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab." Haeddiant Iesu Grist ydyw achos haeddianol ein hiachawdwriaeth. "Ac megis y dyrchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn." Ffydd y pechadur yn Nghrist ydyw achos offerynol ein hiachawdwriaeth. "Fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael ohono fywyd tragywyddol." Y mae yr ymddiddan rhwng yr Iesu a Nicodemus yn cynwys gweithrediadau y tri Pherson dwyfol yn ein hiachawdwriaeth—y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân.

EIDDIGEDD YR IUDDEWON TUAGATO

Wedi treulio y Pasg yn Jerusalem cyfeiriodd yr Iesu a'i ddysgyblion i wlad Judea, i'r dwyrain, tua glanau yr Iorddonen, ac yno y treuliasant rai misoedd, y mae yn debygol; ac yno yr oedd Ioan yn pregethu edifeirwch, ac yn bedyddio. Yr oedd yr Iesu, trwy ei ddysgyblion, yn bedyddio yn y lle hwn. Er na fedyddiasai yr Iesu ei hun, eithr ei ddysgyblion ef: mwy yn ei olwg ef oedd dysgu egwyddorion ysbrydol ei deyrnas. Yr oedd pregethu Crist yn bwysicach na bedyddio yn nghyfrif Paul ar ol hyn. Ceisiodd yr Iuddewon drachefn greu eiddigedd yn Ioan yn erbyn ei Arglwydd, trwy ddyweyd ei fod yn bedyddio, ac yn bedyddio mwy nag ef, a phawb yn dyfod ato ef; eithr dangosodd Ioan iddynt ddwyfoldeb ei anfoniad trwy lawenychu yn nghynydd ei Arglwydd. Dywedodd, "Rhaid ydyw iddo ef gynyddu, ac i minau leihau." Ac yn ei brofiad o'i lawenydd yn ei gynydd, ac yn ngoleuni y dystiolaeth am dano, y mae yn ei bregethu yn efengylaidd. "Yr hwn sydd oddi uchod," meddai, "sydd goruwch pawb oll." "Y mae y Tad yn caru y Mab, ac efe a roddodd bob peth yn ei law ef. Yr hwn sydd yn credu yn y Mab y mae ganddo fywyd tragywyddol; a'r hwn sydd heb gredu i'r Mab ni wêl fywyd; eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef."

Effeithiodd cynydd a llwyddiant yr Iesu yn Jerusalem yn ystod y Pasg, ac yn ngwlad Judea ar lanau yr Iorddonen, ar y Phariseaid ac Iuddewon gwlad Judea, i beri gelyniaeth tuagato ef; yr hyn a ganlynodd yn eu gwrthodiad llwyr ohono trwy ei groeshoelio, yr hwn oedd bechod mawr y genedl. Wrth weled arwyddion o'i wrthodiad tua therfyn y flwyddyn gyntaf o'i weinidogaeth gyhoeddus, yr Iesu a gyfeiriodd tua Galilea. Tua'r adeg hon y carcharwyd Ioan. Mae yn ddiau i garchariad Ioan effeithio ryw gymaint ar ein Gwaredwr,

gan y gwyddai mai yr un oedd wedi bod yn ffyddlawn i barotoi y ffordd o'i flaen oedd yr hwn a garcharwyd gan Herod oherwydd sefyll dros y gwirionedd yn ei erbyn ef.



[GWEDDILLION DINAS SAMARIA.]

### YN MYNED I GALILEA TRWY SAMARIA.

"Ac yr oedd yn rhaid iddo fyned trwy Samaria."—IOAN iv. 4.

Yr oedd yr Iuddewon yn gyffredin, er osgoi myned trwy Samaria wrth fyned i Jerusalem, yn myned yr ochr arall i'r Iorddonen trwy Perea. Y ffordd gyffredin a'r unionaf oedd y ffordd trwy Samaria: ni welai y rhai diragfarn yr un ffordd arall, gan fod Samaria yn sefyll rhwng y ddwy wlad. Rhaid oedd i'r Iesu fyned trwy Samaria, oherwydd nad oedd yn ewyllysio gwneyd haner cam o gwmpas i ddangos culni ysbryd tuagat bobl Samaria; ac oherwydd hefyd ei fod yn y ffordd hon yn gwneuthur ewyllys yr hwn a'i hanfonodd. Ar ffordd ewyllys ei Dad yr oedd ef yn derbyn cynhaliaeth yn y byd. Ar y daith hon y cawn ef, wedi diffygio gan lafur y daith, yn eistedd ar ffynon Jacob, yr hon oedd yn agos i Sichar, neu Sichem. Tua chanol dydd, y mae yn debyg, yr

oedd ef, wèdi diffygio, yn eistedd ar y ffynon. Dichon fod gwres y daith wedi ei lethu. Dangosai y dysgyblion eu bod yn gryfach i ddal llafur y daith a gwres y dydd, oherwydd yr oedd llai o bwysau ar eu meddyliau. Yr oedd ymddiriedaeth ei Dad arno yn bwysau ar ei feddwl ef. Pan yr oedd ef, yn ddiffygiol gan y daith, yn eistedd ar y ffynon, yr oedd y dysgyblion wedi myned i'r ddinas i brynu bwyd. Profodd wendidau dibechod dynoliaeth ddirywiedig: cynefinodd â blinderau amgylchiadau pobl gyffredin. Gofynodd i'r wraig a ddaeth i dynu y dwfr, "Dyro i mi i yfed." Yr oedd ef yn sychedig ac yn ddiffygiol; ond hynod mor lleied yr arhosodd gyda'i angen personol am y dwfr naturiol! "Pwy bynag," meddai, "sydd yn yfed o'r dwfr hwn, efe a sycheda drachefn." Pa mor rinweddol bynag ydyw, a pha beth bynag ydyw eich syniadau chwi am dano, sychedu drachefn yr ydych wedi yfed ohono. "Ond pwy bynag a yfo o'r dwfr a roddwyf fi iddo, ni sycheda yn dragywydd; eithr y dwfr a roddwyf iddo, a fydd ynddo yn ffynon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol." Y mae syched heb ei ddiwallu yn ddinystriol: mwy dinystriol ydyw syched enaid heb ei ddiwallu na syched y corph. Dyfroedd bywiol yr Iesu ydyw yr unig ddarpariaeth i ddisychedu enaid.

"Arglwydd," gofynai y wraig wrth y ffynon, "dyro i mi y dwfr hwn fel na sychedwyf, ac na ddelwyf yma i godi dwfr." Er mor dywell, gwelodd gymaint o werth y dyfroedd bywiol nes gofyn am danynt; a chyn i'r ymddiddan rhyngddynt derfynu, yr oedd hi yn dechreu yfed o ddyfroedd y bywyd, yr hwn a'i cymhwysodd i'w bregethu yn effeithiol yn y ddinas. Pobl wedi bod gyda'r Iesu, wedi ei adnabod, ac wedi derbyn o'i gyflawdder sydd yn abl i'w bregethu yn effeithiol. Wedi dechreu yfed y dyfroedd bywiol, gadawodd y wraig y dwfrlestr, ac aeth i'r ddinas, ac a ddywedodd

wrth y dynion, "Deuwch, gwelwch ddyn, yr hwn a ddywedodd i mi yr hyn oll a wneuthum: onid hwn yw y Crist?" Y mae ef yn gwybod fy hanes a'm hangenion i, ac yr ydwyf wedi gweled ynddo gyfaddasder i gyfarfod ac i ddiwallu fy angenion. Gadawodd y dwfr naturiol i fyned i'r ddinas i fynegi am y dyfroedd bywiol.

Trwy air y wraig, dacw y meusydd i'r ddinas at y ffynon yn llawn o bobl yn myned ato ef. "Dywedodd wrth y dysgyblion, Dyrchefwch eich llygaid, ac edrychwch ar y meusydd, canys gwynion ydynt eisoes i'r cynhauaf."



[NAZARETH.]

# PENOD IV.

---

*Yr Iesu yn Nazareth—Yn y Synagog ar y Sabbath yn darllen—Pobl Nazareth yn ei ddirmygu—Yn gadael Nazareth—Yn Cana Calilea—Cais pendefig o Capernaum—Yn dewis Capernaum fel lle canolog i'w deithiau yn Galilea—Galw Simon, Andreas, Iago, ac Ioan—Y ddalfa bysgod yn eu cymhell i'w ganlyn—Iachau y dyn âg ysbryd aflan yn y Synagog—Iachau chwegr Petr—Iachau y claf o'r parlys—Galw Matthew.*

---

"Ac efe a ddaeth i Nazareth."—Luc iv. 16.

AR y Sabbath yn y synagog rhoddwyd ato i'w ddarllen lyfr y prophwyd Esaias. Agorodd ar y geiriau, "Ysbryd yr Arglwydd sydd arnaf fi, oherwydd iddo fy eneinio i, i bregethu i'r tlodion yr anfonodd fi." Eneiniwyd ef trwy gyflawniad y brophwydoliaeth. Yr oedd llygaid pawb yn craffu arno ; a rhyfeddent "am y geiriau grasusol a ddeuai allan o'i enau ef." Yr oedd ei eiriau, a'i olwg hardd, yn gwneyd y cyfarfod yn hyfryd, dymunol, a da. Son am dano ef yr oedd pawb. Gwedd Iesu hardd, a'i eiriau grasusol, sydd yn gwneyd moddion gras yn ddymunol a bendithiol. Cododd y cwestiwn yn eu mysg: "Onid hwn yw mab Joseph?" a dywedodd yr Iesu, "Yn hollawl y dywedwch y ddiareb hon wrthyf, Y meddyg, iacha di dy hun: y pethau a glywsom ni eu gwneuthur yn Capernaum, gwna yma hefyd yn dy wlad dy hun." Yr oedd peidio gwneyd dadblygiadau ohono ei hun yn ei wlad ei hun yn chwerwi eu balchder. I gyfarfod â'u balchder a'u rhagfarn y gwnaeth ddefnydd o ddiareb

arall: fod gormod o gynefindra cartrefol yn magu diystyrwch—"Nad yw un prophwyd yn gymeradwy yn ei wlad ei hun." Anfonwyd Elias y prophwyd, yn amser newyn, nid at neb o lawer o wragedd Israel, ond at wraig weddw yn Sarepta yn Sidon, yr hon oedd un o'r Cenhedloedd; a Naaman y Syriad yn unig a lanhawyd o'i wahanglwyf yn amser y prophwyd Eliseus, er bod yno lawer o wahangleifion yn Israel.

Wele gyfnewidiad disymwth yn y gynulleidfa: a hwy oll "a lanwyd o ddigofaint." Deffrôdd ei gyfeiriadau at y Cenhedloedd eu balchder a'u culni cenhedlaethol. Mor gyfnewidiol ydyw dynion, ac mor angharedig at y da a'r perffaith ydoedd pobl Nazareth. Diflanodd poblogrwydd yr Iesu yn Nazareth yn ystod y cyfarfod. Wele y bobl oedd yn rhyfeddu at ei eiriau grasusol yn codi i fyny, ac a'i bwriasant ef allan o'r ddinas, a'u bwriad oedd ei fwrw bendramwnwgl i lawr o ben y graig. Amlygodd ei ddwyfoldeb trwy ddyrysu eu bwriad, a myned trwy eu canol hwynt. Gadawodd Nazareth oblegid eu hangrediniaeth: "Ac efe a ryfeddodd at eu hangrediniaeth." Yr oedd derbyn y fath ddiystyrwch oddiwrth bobl a ddylasai flaenori mewn rhoddi parch iddo, a hyny mewn ffordd mor eithafol, yn peri iddo adael ei wlad enedigol.

### YN GADAEL NAZARETH.

Wedi cael ei wrthod a'i ddirmygu gan bobl Nazareth, cyfeiriodd yr Iesu drachefn i Cana yn Galilea, lle y trodd ef y dwfr yn win. Tra yr oedd efe yma, daeth pendefig o Capernaum (pellder, mae'n debyg, o oddeutu ugain milldir), ato, gan atolygu arno fyned i waered i iachau ei fab ef, yr hwn oedd yn min marw. Pell oedd ei ffydd o fod yn debyg i ffydd y canwriad. "Yn unig dywed y gair," meddai y canwriad. "O, Arglwydd, tyred i lawr cyn marw fy machgen," meddai hwn. Ni chredai

fod yr Iesu yn abl i'w iachau yma lle yr oedd. Ei ddymuniad oedd ar iddo dd'od i lawr at ei fab, ond yr oedd ef yn daer am iddo wneyd hyny. Yr oedd ei bryder am ei fab, a'r son a glywodd am yr Iesu, wedi cynyrchu taerineb ynddo. Ac er ei syniadau daearol, yr oedd ei daerineb yn dylanwadu ar ein Gwaredwr! oherwydd y mae ef yn barod iawn bob amser i wrando ar daerineb mewn cyfyngder. Tawelodd y dymhestl ar feddwl y pendefig trwy ddyweyd, "Dos ymaith, y mae dy fab yn fyw." Trwy air yr Iesu tawelodd i letya yn y gymydogaeth, a dychwelodd adref boreu dranoeth. Mynegodd y gweision iddo cyn cyrhaedd adref bod ei fab yn fyw, a bod y cryd wedi ei adael yr adeg yr oedd y Gwaredwr yn llefaru wrtho ef. Bu yr ail wyrth hon yn Cana yn fendith i'r teulu: "Ac efe a gredodd a'i holl dŷ." Tybia rhai mai Chusa, goruchwyliwr Herod, ydoedd y pendefig hwn. Os felly, cawn fod ei wraig, Joanna, yn un o'r gwragedd caredig a ffyddlawn, y rhai a weinyddent i'r Iesu o'r pethau oedd ganddynt; a Joanna ydoedd un o'r gwragedd ffyddlawn o Galilea a ddygodd berarogl at y bedd, i'r rhai yr ymddangosodd dau angel, ac a bregethasant iddynt adgyfodiad Crist.

### CERDDED O AMGYLCH GAN WNEUTHUR DAIONI.

"Yr hwn a gerddodd o amgylch gan wneuthur daioni."—ACT. x. 38.

"A daeth i waered i Capernaum." Am oddeutu deunaw mis wedi ei wrthod a gadael Nazareth, Capernaum oedd y lle y cyrchai iddo, tra yn cerdded o amgylch gan wneuthur daioni. Nid oedd ganddo gartref iddo ei hun. Dichon ei fod yn gwneyd ei gartref yn benaf gyda Phetr, yn Capernaum, yr hwn, fel y tybir, oedd yn meddu tŷ yn y ddinas, er mwyn cyfleusdra i'w alwedigaeth fel pysgotwr. Yn Capernaum a'r wlad oamgylch y cyflawnodd yr Iesu luaws mawr o'i weithredoedd nerthol, ac y

llefarodd luaws o ddamegion ac addysgiadau. Meddai, "Pe gwnaethid yn Tyrus a Sidon y gweithredoedd nerthol a wnaethpwyd ynot ti, hwy a edifarhasent er's talm." Camddefnyddio y fath freintiau gwerthfawr a ddygodd arnynt gyflawniad y brophwydoliaeth, "a dynir i lawr hyd yn uffern." Yn ystod y misoedd hyn yr oedd enw Iesu o Nazareth yn destyn ymddiddanion trwy yr holl wlad oamgylch. Efe oedd testyn ymddiddan ar bob cwch ar y llyn, ar y ffordd, yn y maes, ar y mynydd, ac yn y ty. Gwyliai y deillion ar fin y ffordd am ei fynediad heibio. Holent, os clywent swn torf yn myned heibio, "Beth oedd hyn?" Ac wedi clywed fod Iesu o Nazareth yn myned heibio, parod iawn oeddynt i lefaru, "Iesu, fab Dafydd, trugarha wrthym." Y dymuniad cyffredinol oedd cael ei weled. Rhedodd Zacheus o flaen y dyrfa, a dringodd i sycamorwydden i gael golwg arno. "Syr," meddai y Groegiaid wrth Phylip, "ni a ewyllysiem weled yr Iesu." I ba le bynag yr elai dilynid ef gan dorfeydd o bobl. Daeth miloedd ato i le anial, wrth y rhai y tosturiodd. Pan y llenwid y trefi gan bobl yn cyrchu ato, arweiniai hwynt i'r meusydd, ac i'r mynyddoedd, ac i'r anialwch. Yr oedd son am dano yn cyrchu pobl o bell ato. Tynai ei enw bobl ato i Galilea o Idumea o'r deheubarth, o Jerusalem, ac o Judea, ac o Perea cyrchent ato, ac o Tyrus a Sidon, yn y gogledd, deuent ato. Yr oedd ei eiriau a'i weithredoedd fel efe ei hun, yn ddynol ac yn ddwyfol.

### Y DDALFA FAWR O BYSGOD.

Un boreu, i gael ychydig o seibiant, fe aeth yr Iesu i lan y môr, ond cael ychydig o hamdden nid oedd yn bosibl iddo. Cyrchai y bobl ar ei ol i ba le bynag yr elai. Yma yn y boreu, ar lan y môr, pwysai y bobl arno i wrando ei eiriau. Yr oedd llong Simon yn agos i'r lan, yr hwn oedd wedi bod yn pysgota ar hyd y nos

heb ddal dim. Cymerodd yr Iesu fenthyg llong Simon yn bwlpud i bregethu i'r bobl. Wedi iddo fyned i'r llong dywedodd wrth Simon am wthio ychydig oddiwrth y tir er mwyn cael ychydig o le rhyngddo a'r bobl, y rhai oedd yn pwyso arno. Pregethodd yn y llong i'r bobl ar y lan. Gallem feddwl i'n Gwaredwr gae oedfa gysurus iawn yn y boreu y pryd hwn, pan oedd yr awyr yn ysgafn. Y mae efe yn arfer talu yn anrhydeddus ar ei ol: ni adawodd Simon heb dalu, a mwy na thalu iddo am fenthyg ei long yn bwlpud iddo i bregethu i'r bobl y boreu hwn. A phan beidiodd a llefaru, gorchymynodd iddynt fwrw eu rhwydau am helfa. "O, Feistr," atebodd Petr, "er i ni boeni ar hyd y nos, ni ddaliasom ni ddim; eto ar dy air di mi a fwriaf y rhwyd."

### GWNEYD PYSGOTWYR DYNION.

Mantais werthfawr i alwedigaeth Simon oedd cael bod yn is-wasanaethgar i deyrnas Crist. Bendithiwyd tŷ Obededom wedi bod yn gartref i arch Duw. Ar air ei Feistr, bwriodd Simon Petr y rhwyd, a daliasant luaws mawr o bysgod, hyd nes y llanwasant y ddwy long—llong Simon a llong Zebedeus a'i feibion, Iago ac Ioan. Disgynodd braw ar Petr a'r rhai oedd gydag ef oherwydd y ddalfa fawr o bysgod a gawsant mewn ufudd-dod i air eu Meistr. Yr oedd y wyrth hon, nid yn unig yn wobr am wasanaeth, ond yr oedd yn gymhelliad adnewyddol i'w ddilyn yn llwyrach fel ei apostolion. Gwelodd Petr ei anheilyngdod ei hun trwy y datguddiad a roddodd trwy y wyrth hon. "A Simon Petr, pan welodd hyny, a syrthiodd wrth liniau yr Iesu, gan ddywedyd, Dos ymaith oddiwrthyf; canys dyn pechadurus wyf fi, O Arglwydd." Disgynodd braw ar y disgyblion ereill yr un modd. Ond mynai ei Arglwydd iddo gredu trwy hyn ei fod yn abl ac yn meddwl gwneyd defnydd ohono i ddal dynion. "Nac ofna," meddai,

"o hyn allan y deli ddynion." Ac er eu bod wedi cael dalfa ddigyffelyb o bysgod, dygodd y ddau deulu y rhai oeddynt gyfranogion yn y cwmpeini o bysgotwyr y llongau i dir, a gadawsant bob peth ac a'i canlynasant ef. "A hwy yn y fan, gan adael y rhwydau, a'i canlynasant ef." Nid ydyw Petr yn petruso gadael na gofyn, "Beth fydd i ni i'w ganlyn?" wedi cael datguddiad o'hono fel un abl i'w gwneyd yn bysgotwyr dynion.

Daeth yr Iesu i wrthdarawiad âg ysbryd aflan pan yn athrawiaethu yn y synagog yn Capernaum. Yr oedd y Tad o'r nef yn tystiolaethu am dano, ac yma y mae yr ysbrydion drwg yn tystiolaethu am dano, a chawn rai o'r Cenhedloedd yn rhoddi tystiolaeth uchel am dano, "ond ei eiddo ei hun nis derbyniasant ef," ond gwrthodent ef. Yn yr hanes hwn y mae yr ysbrydion drwg yn credu ac yn crynu yn ei ŵydd, gan ddywedyd, "Och, beth sydd i ni a wnelom â thi, Iesu o Nazareth? a ddaethost ti i'n difetha ni? mi a'th adwaen pwy ydwyt, Sanct Duw." Y mae ef yn siarad yn y rhif luosog fel y gellid meddwl fod yno fwy nag un ohonynt. Y mae yn debyg mai siarad dros yr oll y mae ef, oherwydd yr oedd i'r Iesu orchfygu un yn gwneyd eu achos yn ddrwg. Mae yr Iesu yn abl i yru allan yr ysbryd aflan o'r dyn yn y synagog, neu yn yr addoliad. Y mae y diafol yn temtio meddyliau yn yr addoliad yn ddiameu; ond gwna fwy o niwed i addoliad ac achos crefydd pan y gwna ddefnydd o ddynion trwy eu meddianu. Y mae ef yn meddianu, ac yn eu defnyddio yn offerynau i gario allan ei gynlluniau, ac i wneyd ei ymosodiadau. Yr oedd dyn âg ysbryd aflan ynddo yn y synagog yn anfantais fawr i'r addoliad. Gwell i addoliad fod heb y dynion sydd wedi eu meddianu gan ysbryd aflan. Y mae yn gysur i ni, mae ein Gwaredwr yn abl i yru allan ysbrydion drwg o'i dŷ, ac o ddynion yn yr addoliad. Dywed "Taw" wrth hwn pan yr oedd pawb yn ei ofni, a'r ysbryd aflan

wedi myned yn hyf ac anystyriol. Meddai wrtho, "Taw, a dos allan ohono; ac wedi ei rwygo, a llefain â llef uchel, efe a aeth allan ohono." Gwelodd y gynulleidfa, ac fe aeth braw ar bawb, a gofynasant i'w gilydd, "Beth yw hyn? canys trwy awdurdod y mae efe yn gorchymyn, ïe, yr ysbrydion aflan, a hwy yn ufuddhau iddo." "Ac yn ebrwydd yr aeth son am dano dros yr holl wlad oamgylch Galilea."

YN CYMERYD EIN GWENDID AC YN DWYN EIN DOLURIAU.

Wedi iddynt fyned allan o'r synagog, hwy a aethant i dŷ Simon ac Andreas. Yn ebrwydd pan gyrhaeddodd y tŷ, dywedasant wrtho fod chwegr Simon yn gorwedd yn glaf o'r cryd. Ac efe a ddaeth, ac a'i cododd hi i fyny, a hi a wasanaethodd arnynt hwy. Gwaith hyfryd iddi oedd cael y fraint o weini arno wedi derbyn gwaredigaeth o'i phla.

Yn min yr hwyr, wedi i'r Sabbath fyned heibio, a phan yr aeth son ar led am dano yn gorchfygu yr ysbryd aflan, dygasant ato lawer o rai cythreulig, a llawer o rai cleifion. Estynodd yr Iesu iddynt oll waredigaeth, a thrwy hyny cyflawnwyd y brophwydoliaeth, "Efe a gymerodd ein gwendid ni, ac a ddug ein doluriau." Daeth lluaws mawr ato o'r dref a'r wlad oamgylch, o dan amrywiol fathau o afiechyd, a phawb o dan ei faich; ond ni ddaeth ato neb nad oedd yn dychwelyd wedi ei esmwythau o'i faich. Y fath waredigaeth i brofi gorphwysdra oedd cael gwared oddiwrth ysbrydion drwg, ac o boenau y gwahanol fathau o afiechydon. Dangosodd iddynt trwy y gweithredoedd hynod ei gymhwysder fel Iachawdwr i iachau anhwylderau enaid.

EI DAITH TRWY GALILEA.

"A'r boreu yn blygeiniol iawn, wedi iddo godi, efe a aeth allan, ac a aeth i le anghyfanedd; ac yno y gweddïodd. A Simon, a'r rhai oedd gydag ef, a'i dilynasant ef. Ac wedi iddynt ei gael ef, hwy a ddywedasant wrth, Y mae pawb yn dy geisio di."—MARC i. 35, 36, 37.

Mae yr hanes hwn yn dangos fod ein Gwaredwr yn gwrthod manteision poblogrwydd. Yr oedd pobl Capernaum wedi ei hoffi yn fawr y Sabbath, sef y dydd o'r blaen. Yn blygeiniol iawn efe a aeth i le anghyanedd i weddïo; chwiliodd Simon am dano, ac wedi ei gael dywedodd, "Y mae pawb yn dy geisio; y mae y bobl wedi dy hoffi di ddoe yn Capernaum; yr oeddynt yn canmol dy bregethu, ac yn canmol dy weithredoedd." Y mae yn debyg fod Simon yn meddwl iddo dd'od yn ol i dderbyn ei boblogrwydd yn Capernaum. Gwrthododd fyned yn ol: "Awn i'r trefydd nesaf," meddai, "fel y gallwyf bregethu yno hefyd; canys i hyny y daethum allan. Ac yr oedd efe yn pregethu yn eu synagogau hwynt trwy holl Galilea, ac yn bwrw allan gythreuliaid." Efe a'i ddysgyblion a aethant ar daith trwy Galilea.

Yn un o'r lleoedd ar y daith hon trwy Galilea, wele un yn llawn o'r gwahanglwyf a ddaeth, ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, "Arglwydd, os myni, ti a elli fy nglanhau i." Yr oedd y gwahanglwyf yn arwydd neillduol o bechod, ei lygredigaeth a'i ganlyniadau, yn nghydag anfoddlonrwydd Duw ar bechod. Dywedai y ddiareb Iuddewig, "Megis yr anfonir ef gan Dduw, felly efe yn unig sydd yn abl i iachau oddiwrtho." Gweddiodd Moses ar yr Arglwydd dros Miriam, pan y ceryddodd yr Arglwydd hi â gwahanglwyf, am iddi lefaru yn erbyn Moses ei was. Gweddia Moses, "O, Dduw, atolwg, meddyginiaetha hi yr awrhon." Y mae yn debyg ei fod yn heintus ac yn deuluaidd yn Israel. Trwyddo yr oedd y claf yn aflan mewn ystyr seremonïol,

ac yn cael ei wahanu o gynulleidfa yr Arglwydd. Nid oes hanes am un feddyginiaeth naturiol ato. Dywed meddygon fod yn bosibl cymhwyso meddyginiaeth ato yn ei ddechreuad; ond wedi iddo gyrhaedd gradd neillduol ei fod yn anfeddyginiaethol o ran neb dynion. Yr oedd y gwahanglwyfus hwn yn anfeddyginiaethol yn ei olwg ei hun a phawb arall. Darfu son am yr Iesu gynyrchu ffydd ynddo yn ngallu Crist i'w lanhau. "Os myni," meddai, "ti a elli fy nglanhau." Yr oedd ei "os myni" yn rhan o'i daerineb, ac yn fynegiad mwy o'i anheilyngdod ei hun na'i amheuaeth yn mharodrwydd yr Iesu. Tynodd allan ei "os myni" fynegiad pendant o'i barodrwydd i drugarhau. Estynodd yr Iesu ei law, ac a gyffyrddodd âg ef, gan ddywedyd, "Mynwyf, bydd lân." Ac yn y fan ei wahanglwyf a lanhawyd. Dywedodd wrtho, "Gwel na ddywedych wrth neb." Gorchymynodd iddo gyflawni cyfraith Moses. Ar lwybr ufudd-dod i orchymyn Duw yr oedd ef i gael bendith ar y waredigaeth i beri iddo ddymuno glanhad ysbrydol.

### MADDEU AC IACHAU Y CLAF O'R PARLYS.

Ha fab, cymer gysur; maddeuwyd i ti dy bechodau."—MATTH. ix. 2.

"Ac efe a aeth drachefn i Capernaum wedi rhai dyddiau." Pan yr oedd yr Iesu yn pregethu mewn ty yn Capernaum,—ty Petr, feallai,—a phan yr oedd pobl wedi d'od o'r parthau cylchynol i wrando arno, hyd nes yr oedd y ty ac o gwmpas y drws yn llawn, cafodd gyfleusdra i ddatguddio ei hun yn faddeuwr pechod ac yn Dduw. Dygodd pedwar o ddynion un claf o'r parlys, yn gorwedd mewn gwely; a phan y daethant at y ty gwelsant na allent fyned at yr Iesu yn y ty trwy y ffordd gyffredin, gan y dyrfa i mewn ac allan. Nid ydyw ffydd yn troi yn ol yn ngwyneb rhwystrau. "Didoi y tô a wnaethant," ac a'i gollyngasant i lawr mewn gwely

gerbron yr Iesu. Yn unigrwydd ei gystudd, y mae yn bosibl fod y claf hwn wedi edrych i mewn i'w angen ysbrydol, ac wedi cael ei ddeffro i deimlo ei angen am iachad, nid yn unig ac nid yn benaf i'r corph, ond i'w enaid anfarwol. Yr oedd y claf hwn, y mae yn bur debyg, yn gystuddiedig, nid yn unig yn ei gorph, ond yn ei ysbryd oherwydd ei bechod. Fel y mae yr enaid yn fwy na'r corph, y mae cystudd yr enaid yn fwy na chystudd y corph. Y mae yr hanes yn awgrymu fod yno rywbeth mwy o'r golwg nag yn y golwg. O'r golwg y mae cystudd yn yr ysbryd oherwydd pechod. Nid oedd y cystudd yn ysbryd y claf hwn yn y golwg i'r pedwar a'i cludai ef at yr Iesu; ond "ar hwn y mae efe yn edrych, sef ar y truan a'r cystuddiedig o ysbryd sydd yn crynu wrth ei air." Fe aeth heibio i gystudd y corph at gystudd yr enaid, oherwydd pechod. Wele ein Gwaredwr yn symud y baich trymaf yn gyntaf, trwy ddywedyd, "Ha fab, cymer gysur; maddeuwyd i ti dy bechodau." Tywalltodd olew ei faddeuol ras i'w ysbryd cystuddiedig, effeithiau yr hwn ydoedd meddyginiaeth lawn a gwaredigaeth gyflawn oddiwrth bechod a'i ganlyniadau. Gwelai elyniaeth yr ysgrifenyddion o'u mewn yn cynhyrfu, ac yn dywedyd, "Y mae hwn yn cablu. Pwy all faddeu pechodau ond Duw yn unig." Gofynodd iddynt, "Pa un hawsaf ai dywedyd, Maddeuwyd i ti dy bechodau ai dywedyd, Cyfod a rhodia." Y mae yn bosibl dywedyd, Maddeuwyd i ti dy bechodau, heb ddim mwy na dywedyd y geiriau; eithr fel y gwypoch fod mwy na geiriau yn fy maddeuant, fel y gwypoch fod genyf awdurdod ar y ddaear i faddeu pechodau. Dywedodd wrth y claf o'r parlys, Cyfod, cymer dy wely i fyny a dôs i'th dŷ. Ac efe a gyfododd, ac a aeth ymaith i'w dŷ ei hun. Dacw nerth yn myned i mewn i'w aelodau diffrwyth, a thangnefedd trwy faddeuant yn tawelu yr enaid cystuddedig. Daeth ei

ogoniant fel maddeuwr pechodau, ac fel Duw, i olwg y torfeydd, fel y rhyfeddent ac y gogoneddent Dduw.

Galwodd Matthew y publican ar ei ol fel un o'i apostolion, yr hwn oedd yn eistedd wrth y dollfa. I'r Iuddew nid oedd y doll a'r dreth ond arwyddion caethiwed, ac ymadawiad Duw o'i wlad ei hun, oherwydd eu gwrthgiliad hwy oddiwrtho. Yr oedd yr Iuddew hunangyfiawn yn casau y pethau oedd yn ei gyhuddo ac yn ei gondemnio ef; nid rhyfedd gan hyny ei fod yn edrych ar y publicanod fel bodau israddol. Publican ac Iuddew ydoedd Matthew, yn derbyn arian y doll Rufeinig yn agos i Capernaum. Dywedodd yr Iesu wrtho, "Canlyn fi," ac efe a'i canlynodd ef. Er ei fod yn bublican dirmygedig gan yr Iuddew, efe a'i gwnaeth ef yn ddysgylb ac yn apostol, ac yn ysgrifenydd yr efengyl werthfawr sydd ar ei enw.

# PENOD V.

---

*Yr Iesu yn galw y deuddeg Apostol—Y bregeth ar y mynydd—Ail Basg ein Harglwydd—Iachau y claf ar lan llyn Bethesda—Y dysgyblion yn tynu tywys ar y Sabbath—Iachau y llaw wedi gwywo—Iachau gwas y canwriad—Bywhau mab y weddw o Nain—Ioan Fedyddiwr o'r carchar yn anfon dau o'i ddysgyblion ato—Yr hon oedd bechadures yn amlygu ei chariad ato.*

---

## YN GALW Y DEUDDEG APOSTOL.

"A bu yn y dyddiau hyny, fyned ohono ef allan i'r mynydd i weddio; a pharhau ar hyd y nos yn gweddio Duw. A phan aeth hi yn ddydd, efe a alwodd ato ei ddysgyblion: ac ohonynt efe a etholodd ddeuddeg, y rhai hefyd a enwodd efe yn apostolion."—LUC vi. 12, 13.

YR oedd galwad ac ordeiniad deuddeg o apostolion yn amgylchiad neillduol yn ngolwg ein Harglwydd, ac yn ddigon neillduol yn ei olwg i barhau ar hyd y nos i weddio Duw o flaen yr amgylchiad. Enwau y personau a ordeiniodd efe yn apostolion ydynt fel y canlyn:—"Simon (yr hwn hefyd a enwodd efe Petr) ac Andreas ei frawd; Iago ac Ioan; Phylip, a Bartholomëus; Matthew, a Thomas; Iago, mab Alphëus, a Simon a elwir Zelotes; Judas brawd Iago, a Judas Iscariot, yr hwn hefyd a aeth yn fradwr." Disgynodd ef a'i ddysgyblion ar ol yr ordeiniad i wastadir, ac yno cyrchodd ato luaws mawr o bobl o Judea a Jerusalem, ac o dueddau Tyrus a Sidon, i'wrando arno ac i'w iachau o'u clefydau. Ceisient gyffwrdd âg ef am ei fod yn iachau pawb.

"Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn."—IOAN vii. 46.

Cyrchai y bobl ato i glywed ei lais, ac i wrando ar ei eiriau. Yr oedd pereidd-dra yn ei lais a melusder yn ei eiriau ef. Hanes hyawdledd yn y byd ydyw ei fod yn arfer tynu pobloedd ato, a thrwy ddylanwad areithyddiaeth gwnaed gwaith mawr yn y byd. Er nad oedd Ioan yn cyflawni gwyrthiau, tyrai y bobl ato i ddiffaethwch Judea trwy ei hyawdledd yn pregethu edifeirwch. Edmygai yr Iuddewon ddoniau ac hyawdledd prophwydi yr Arglwydd; a dywedai llawer o'r bobl, wedi clywed ymadrodd Crist, "Yn wir, hwn yw y prophwyd." Tystiolaeth ei elynion oedd, "Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn." Efe ydyw y bywyd tragywyddol, a geiriau bywyd tragywyddol ydyw ei eiriau.

PREGETH CRIST AR Y MYNYDD.

Ar un o fynyddoedd Galilea y traddododd efe y bregeth fawr, yr hon a gynwys egwyddorion a gweithredoedd ei deyrnas ysbrydol. A phan welodd efe y tyrfaoedd wedi d'od i wrando arno, esgynodd i'r mynydd. "Ac efe a agorodd ei enau, ac a'u dysgodd hwynt." Gair cyntaf y bregeth ydyw, "Gwyn eu byd." Bendithio a wna efe yn nechreuad y bregeth fawr hon, a bendithio a wnaeth ef olaf wrth adael y byd. Pa fodd y mae i bechaduriaid fod yn dda a dedwydd? Y mae y ris gyntaf i wir ddedwyddwch i'w chanfod yn y bregeth hon. "Gwyn eu byd y tlodion yn yr ysbryd." Dechreuad gwir grefydd yn y galon, medd yr Iesu, ydyw ymwybyddiaeth gywir a chyfaddefiad gonest o'n anghenion ysbrydol gerbron Duw. Yr oedd y dysgawdwyr Iuddewig wedi gwyrdroi athrawiaethau gwir grefydd a roddwyd gan Dduw i'w tadau trwy Moses; ac at hyny esgeulusent gyflawni eu dyledswyddau crefyddol. Amgylchynent y môr a'r tir i wneuthur un proselyt i'w syniadau eu hunain; ond ei wneyd yn waeth ac nid yn well yr oeddynt wedi llwyddo

i'w droi, am eu bod wedi troi heibio ysbryd ac egwyddorion cyfraith Duw, a gweinyddiadau cyfiawnder a thrugaredd. Dysgent mai digon o grefydd oedd ufudd-dod ofergoelus i gyflawniad seremonïol eu cyfundrefn grefyddol hwy. Nid oedd eu sancteiddrwydd ond balchder ysbrydol a gau honiadau ; nid oedd y gweithredoedd a honent eu bod yn dda ddim ond rhan o'u dyfeisiau i gael moliant gan ddynion. Nôd uwchaf eu moesoldeb oedd cael eu gweled gan ddynion : os gallent ymddangos yn dda i ddynion ni ofalent am burdeb mewnol y galon, na duwiolfrydedd ei thueddiadau. Y drwg mawr mewn pechod, yn ol eu tyb hwy, oedd ei doriad allan i olwg y cyhoedd, gan eu bod wedi troi heibio y meddwl am lygaid yr Hollwybodol a'r Hollbresenol yn gweled ac yn edrych ar ddirgel ddyn y galon, ac wedi gadael heibio geisio ei gymeradwyaeth ef. Y daioni mwyaf yn eu golwg ac o'u blaen ydoedd dedwyddwch yn y byd hwn yn ol syniad philosophyddion y byd o'u hamgylch. Tywyll ydoedd eu rhagolygon dyfodol.

Mae Crist yn y bregeth hon yn dysgu fod y daioni mwyaf yn Nuw. Efe ydyw ffynhonell pob daioni. Ei orchymyn i ni yw, "Byddwch chwi, gan hyny, yn berffaith, megis y mae eich Tad, yr hwn sydd yn y nefoedd, yn berffaith. Cariad at Dduw ydyw y daioni mwyaf yn y byd, a'r ymdrech uwchaf ydyw yr ymdrech i fod yn debyg iddo ef. Ar lwybr yr ymdrech hon y mae i ddyn brofi gwir ddedwyddwch yn y byd hwn a'r hwn a ddaw. Pa fodd y mae i ni ddechreu yr ymdrech hon? Nid trwy falchder, ond trwy dlodi ysbryd, medd efe: "Gwyn eu byd y tlodion yn yr ysbryd." Nid trwy ddifyrwch, afradlonedd, a phechodau cnawdol, ond trwy alaru oherwydd ein pechodau : "Gwyn eu byd y rhai sydd yn galaru." Nid trwy fynwesu nwydau digofus y mae i ni ymdrechu i feddianu y daioni mwyaf, ond trwy fod yn ostyngedig, addfwyn, llariaidd, a thyner : "Gwyn

eu byd y rhai addfwyn." Nid trwy awydd a syched am bleserau, neu gyfoeth ac anrhydedd y byd, ond trwy newyn a syched am uniondeb a sancteiddrwydd y nefoedd: "Gwyn eu byd y rhai sydd arnynt newyn a syched am gyfiawnder." Nid trwy arfer digter a dialedd, ond trwy arfer trugaredd, tosturi, a charedigrwydd: "Gwyn eu byd y rhai trugarogion." Nid trwy foddloni dymuniadau calon lygredig a llygaid chwantus, ond trwy burdeb yn y galon, trwy farwhau chwantau drwg, trwy garu ufudd-dod sanctaidd er ei fwyn ei hun: "Gwyn eu byd y rhai pur o galon." Nid trwy ryfela, ond trwy hyrwyddo tangnefedd, lledneisrwydd, ac ewyllys da yn mysg dynion: "Gwyn eu byd y tangnefeddwyr." Nid trwy wenieithio a chlodfori bydolddynion y byd y mae i ni garu Duw a cheisio gwir ddedwyddwch, ond yn fynych trwy sefyll dros y da, a gweithredu y da a'r gwir er profi eu gwaradwydd, eu casineb, a'u herledigaeth: "Gwyn eu byd y rhai a erlidir."

Wele seiliau gwir rinweddau teyrnas Crist, y rhai sydd yn hollol wrthwynebol i arferion, ysbryd, a moes addysg y byd. Y mae y bendithion a rydd yr Arglwydd i'r rhai sydd yn eu meddu yn enw Iesu Grist, a'r dedwyddwch a gynyrcha y grasusau hyn, yn hollol wahanol, ond yn anrhaethol ragorach, na dim a fedd ac a brofa y byd, ac na fedr y byd hwn ei roddi. Pa bethau a dderbynia y bobl a feddiana y grasusau hyn? Etifeddant deyrnas gogyfer â'u tlodi; profant ddiddanwch trwy eu galar; mewn diolchgarwch etifeddant y ddaear, a mwynhant ei chyfoeth a'i phleserau. Gwelant bob rhoddiad daionus, a phob rhodd berffaith, yn dyfod oddiwrth Dduw, a derbyniant ei drugaredd ef i'w cadw a'u cynal. Ac os gelwir arnynt i ddioddef erledigaeth, mawr fydd eu gwobr yn y nefoedd. Dywed wrth ei ddysgyblion am iddynt ddangos y grasusau a'r rhinweddau hyn yn eu bywyd. Nid pethau i'w cuddio dan lestr ydynt, ond i'w

dangos a'u defnyddio i lesoli ereill. Dywed na ddaeth ef i dori y gyfraith neu y prophwydi, ond i gyflawni; ni ddaeth i'r byd i symud rhwymedigaeth i Dduw a'r gyfraith, ond i fawrhau y gyfraith a'i gwneyd hi yn anrhydeddus, ac i godi dynion i fyny â'r gyfraith ac ar ddelw Duw.

Mynega ei anghymeradwyaeth am syniad cyfeiliornus y Phariseaid o berthynas i lwon a digofaint. Dynoetha eu rhagrith a'u hunanoldeb yn eu helusenau ymddangosiadol, yn eu gweddïau cyhoeddus, ac yn eu hymprydiau ffurfiol. Dywed wrthym am i ni weddïo ar y Tad yn y dirgel, a rhydd i ni gynllun o weddi, yn yr hon y dysg i ni pa bethau y dylem weddïo am danynt. Dywed wrthym am ochel rhagofal gormodol am bethau y byd hwn; a gochel bod yn rhy barod i farnu ereill, gan fod y rhai parod i edrych ar y brycheuyn sydd yn llygaid eu brawd mewn perygl o adael trawst yn eu llygaid eu hunain. Geilw ein sylw mewn modd tra tharawiadol at y gwahaniaeth a'r canlyniadau rhwng gwrando y gair ac heb ei wneuthur, a gwrando y gair a'i wneuthur. Tŷ ar y tywod ydyw un, a thŷ ar y graig ydyw y llall; "ac efe a syrthiodd, a'i gwymp a fu fawr," ydyw diwedd hanes y tŷ ar y tywod, sef yr hwn sydd yn gwrando y gair ac heb ei wneuthur. Diwedd hanes y tŷ ar y graig, sef yr hwn sydd yn gwrando y gair ac yn ei wneuthur, yw, "ac ni syrthiodd, oblegid sylfaenesid ef ar y graig." Perffeithrwydd y Tad fel ag yr eglurir ef yn mywyd yr unig-anedig Fab, ydyw safon teyrnas Crist. Derbyn Crist trwy ffydd, a chyfranogi ohono, a rydd fodd i ni gyrchu at y nôd uchel hwn.

"A'r Iesu a aeth i fyny i Jerusalem."—Ioan v. 1.

Yr oedd gwyl yn Jerusalem yr adeg hon, ond nis gellir yn hawdd benderfynu pa wyl ydoedd. Barna rhai mai

gwyl y Pasg ydoedd, ac mai hon ydoedd ail Basg ein Harglwydd ar ol dechreu ei weinidogaeth gyhoeddus.

IACHAU Y CLAF AR LAN LLYN BETHESDA.

Yr hyn a roddodd arbenigrwydd ar ei ymweliad â Jerusalem y tro hwn ydyw y wyrth a gyflawnodd trwy drugarhau wrth y dyn oedd wrth lyn Bethesda yn disgwyl am gynhyrfiad y dwfr, a'r hwn hyd yn hyn oedd wedi disgwyl yn ofer, am nad oedd ganddo ddyn i'w fwrw i'r llyn pan gynhyrfid y dwfr, oherwydd y cyntaf a elai i mewn pan gynhyrfai yr angel y dwfr a elai yn iach o ba glefyd bynag a fyddai arno. Yr oedd y dyn hwn wedi bod yn glaf namyn dwy flynedd deugain. Er mwyn iddo edrych ato ef am iachad, a rhoddi ei obaith ynddo ef, pan yr oedd ei ddisgwyliadau yn ofer mewn cysylltiad â'r llyn, gofynodd yr Iesu iddo, "A fyni di dy wneuthur yn iach?" Darfu i'r cwestiwn, yn ddiau, gynyrchu gobaith yn y claf am iachad. Dangosodd barodrwydd i ufuddhau i orchymyn yr Iesu pan y dywedodd wrtho, "Cyfod, cymer dy wely i fyny a rhodia." Ar air yr Iesu gwnaed y dyn yn iach; ac i ddangos fod ei iachad yn drwyadl, cododd ei wely a rhodiodd. "A'r Sabbath oedd y diwrnod hwnw." Pan yn ufuddhau i orchymyn yr Iachawdwr trwy godi ei wely a rhodio, gwaeddodd yr Iuddewon arno, "Y Sabbath yw hi: nid cyfreithlawn i ti godi dy wely." Trwy godi ei wely wedi derbyn y waredigaeth, ac yn ol gorchymyn yr Iesu, troseddai, nid cyfraith Duw i Moses, ond eu traddodiadau ffurfiol a rhagrithiol hwy eu hunain, y rhai na oddefent gario hoelen mewn esgid ar y dydd Sabbath. Naturiol ac awgrymiadol ydyw yr ateb a gawsant gan y dyn a wnaethid yn iach: Yr ydwyf fi yn gwneyd gorchymyn yr hwn a'm gwnaeth i yn iach. "Efe a ddywedodd wrthyf, Cyfod dy wely i fyny a rhodia." Ni wyddai pwy oedd yr

hwn a'i gwnaeth yn iach. Dangosodd y dyn ei fod yn ddiolchgar i'r Arglwydd am ei waredu o gaethiwed ei gystudd trwy fyned i'r deml. Y mae yn bosibl nad oedd wedi gallu myned i'r deml er's yn agos i ddeugain mlynedd; ond un o'r pethau cyntaf a wnaeth wedi cael ei wneyd yn iach oedd myned i'r deml i geisio addoli. Yr oedd trwy hyn yn gwneyd ei ddyledswydd, a thrwy wneyd ei ddyledswydd gosododd ei hun ar lwybr i gael cyfarfod drachefn â'r Iesu, a'r ail waith cafodd ei adnabod. Gallwn ddisgwyl llawer trwy ymdrechu bod ar lwybr ein dyledswydd; ïe, gallwn ddisgwyl cael cyfarfod â'r Iesu. Geilw sylw y dyn a wnaethid yn iach at y waredigaeth a dderbyniodd: "Wele, ti a wnaethpwyd yn iach: na phecha mwyach, rhag digwydd i ti beth a fyddo gwaeth." Effaith a chanlyniad pechod ydoedd ei afiechyd, ac os byddai iddo barhau i bechu wedi derbyn iachâd a gwaredigaeth, byddai iddo gyfarfod â'r hyn fuasai gwaeth. Rhydd yr Iesu rybudd yma i ochel gwneyd yr hyn a wna llawer wedi iddynt gael eu rhyddhau o garchar afiechyd. Camddefnyddiant eu rhyddid i bechu mwy, i gyflawni eu dinystr eu hunain. Mynegodd y dyn i'r Iuddewon mai yr Iesu a'i gwnaeth ef yn iach. Gwnaeth hyn fel canmoliaeth iddo, ac yn ngrym y teimlad o'i ddiolchgarwch iddo. Deffrodd eu gelyniaeth gymaint at yr Iesu nes ceisio ei ladd ef, a hyny dan rith sêl grefyddol dros y Sabbath. Gwnaeth yr Iesu hunanamddiffyniad yn eu herbyn, a thrwy hyny mynegodd i ni wirioneddau anmhrisiadwy. Dywed: "Y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn, ac yr ydwyf finau yn gweithio." Tybient hwy fod Duw yn gorphwyso ar y Sabbath, am ei fod yn peidio gweithio. Dysga efe fod gorphwysdra sanctaidd yn cynwys gweithrediad daionus. Mae fy Nhad yn gweithio trwof fi; gwaith fy Nhad ydyw hwn. Nid ydyw wedi ymddiried creu, bywhau, a chynal i neb arall. Cyffrōdd eu gelyniaeth

yn fwy am iddo ddywedyd fod Duw yn Dad iddo, a gwneyd ei hun gystal â Duw. Dywed yr Iesu yn fwy eglur: "Ni ddichon y Mab wneuthur dim ohono ei hunan, eithr yr hyn a welo efe y Tad yn ei wneuthur. Oblegid megis y mae y Tad yn cyfodi y rhai meirw, ac yn eu bywhau; felly hefyd y mae y Mab yn bywhau y rhai a fyno." Dywed fod y bywyd tragywyddol ynddo ef, ac y caiff y meirw ysbrydol glywed ei leferydd, am fod ynddo fywyd ynddo ei hun; ac wrth ei alwad ef y cyfyd y meirw; ac iddo ef y rhoddwyd awdurdod i farnu y byw a'r meirw. Y mae y gwirioneddau uchod yn gosod allan ei undeb a'i gydraddoldeb â'r Tad, a'r awdurdod a dderbyniodd oddiwrtho fel ein Gwaredwr. Geilw eu sylw at dri o dystion neillduol o ddwyfoldeb ei Berson a dwyfoldeb ei anfoniad, sef Ioan, Moses, a'r Tad.

### Y DYSGYBLION YN TYNU TYWYS AR Y SABBATH.

"Yr amser hwnw yr aeth yr Iesu ar y *dydd* Sabbath, trwy yr ŷd: ac yr oedd chwant bwyd ar ei ddysgyblion, a hwy a ddechreuasant dynu tywys, a bwyta."—MAT. xii. 1.

Gadawodd yr Iesu Jerusalem yn fuan ar ol y Pasg. Yr oedd ef a'i ddysgyblion ar eu taith i Galilea yn myned trwy yr ŷd ar y Sabbath, a dechreuodd ei ddysgyblion dynu tywys a bwyta. Dygodd y Phariseaid gyhuddiad yn erbyn ei ddysgyblion at yr Iesu: "Wele," meddant, "y mae dy ddysgyblion yn gwneuthur yr hyn nid yw rydd ei wneuthur ar y Sabbath." Y mae ef yn adgoffa iddynt pa beth a wnaeth Dafydd pan yr oedd chwant bwyd arno ef a'r rhai oedd gydag ef, pan yn ffoi rhag Saul, "Pa fodd yr aeth efe i mewn i dŷ Dduw, ac y bwytaodd y bara gosod, yr hwn nid oedd rydd iddo ei fwyta, nac i'r rhai oedd gydag ef, ond yn unig i'r offeiriaid." Onid ydyw yr hanes yn profi fod anghenion ein natur i gael eu diwallu o flaen ufudd-dod i reol

seremonïol? Onid oedd angenrheidiau Dafydd a'i ganlynwyr i gael ystyriaeth o flaen cadw i fyny draddodiad? "Neu oni ddarllenasoch yn y gyfraith, fod yr offeiriaid ar y Sabbathau yn y deml yn halogi y Sabbath, a'u bod yn ddigerydd? Eithr yr ydwyf yn dywedyd i chwi, fod yma un mwy na'r deml." Y mae Arglwydd y Sabbath yma. Y mae yr hwn sydd yn ewyllysio trugaredd yn Arglwydd ar y Sabbath: "Canys Arglwydd ar y Sabbath hefyd yw Mab y dyn."

### IACHAU Y LLAW WEDI GWYWO.

"A bu hefyd ar Sabbath arall, iddo fyned i mewn i'r synagog, ac athrawiaethu: ac yr oedd yno ddyn â'i law ddehau wedi gwywo."—LUC vi. 6.

Yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, y rhai a chwilient yn wastadol am gyhuddiadau yn ei erbyn, a'i gwyliasant ef yr adeg hon a iachâi efe ar y dydd Sabbath, "fel y caffent achwyn yn ei erbyn ef." Gofynodd yr Iesu iddynt, "Ai rhydd gwneuthur da ar y dydd Sabbath, ynte gwneuthur drwg? cadw einioes, ai lladd? A hwy a dawsant a son." Dywedodd wrth y dyn, "Estyn allan dy law. Ac efe a'i hestynodd: a'i law ef a wnaed yn iach fel y llall." Trwy ufudd-dod y dyn i orchymyn ein Harglwydd y gwnaed ei law yn iach fel y llall. Rhydd y Gwaredwr nerth i wneyd ei orchymyn yn ngwaith y dyn yn ymdrechu ufuddhau i'w orchymyn ef.

### IACHAU GWAS Y CANWRIAD.

Daeth at yr Iesu ganwriad yn achos ei was, yr hwn oedd yn glaf o'r parlys, ac mewn poenau dirfawr. Cenedl-ddyn oedd y canwriad hwn, a swyddog perthynol i'r gwarchodlu Rhufeinig yn Capernaum. Yr oedd rhagoriaethau dynoliaeth dda, a ffydd gref yn yr Iesu, yn nodweddu cymeriad y dyn hwn. Parchai ei was er ei fod yn israddol iddo ef: "yr hwn oedd anwyl

ganddo," yn ol Luc. Edrychai a gofalai am ei was fel un o'r teulu. Carai hefyd genedl yr Iuddewon, oherwydd credai mai gyda hwy yr oedd y manteision goreu i adnabod Duw. Iddynt hwy y rhoddwyd y datguddiad helaethaf o'r gwir Dduw, a gwir grefydd ; a'r bywydau perffeithiaf yn ei olwg ef oedd bywydau y bobl a feddianai wir grefydd. Yr oedd ynddo ddwfn barch i osodiadau a swyddogion gwir grefydd. "Efe a adeiladodd i ni synagog," meddai yr henuriaid. Anfonodd henuriaid yr Iuddewon at yr Iesu wedi clywed am dano; ac er mor gryf ydoedd rhagfarn yr Iuddewon at y cenhedloedd, gorchfygwyd ef gan y canwriad hwn. Daethant at yr Iesu gan atolygu arno yn daer ; oblegid dywedant, "Y mae efe yn haeddu cael gwneuthur ohonot hyn iddo." Yr oedd ei ffydd wedi gosod rhyw gymaint o'i delw ar y rhai a ddygai ei gais at yr Iachawdwr. Parai ei feddwl uchel am yr Iesu iddo deimlo ei anheilyngdod ei hun, gan brydferthu ei gymeriad â gostyngeiddrwydd. Cyn i'r Iesu gyrhaedd y ty, anfonodd y canwriad gyfeillion ato, i ddymuno arno yn unig ddyweyd y gair : "Eithr yn unig dywed y gair, a'm gwas a iacheir." "Nid ydwyf fi," meddai, "deilwng i ddyfod ohonot dan fy nghronglwyd." Ni raid i mi, yr hwn ydwyf yn meddu awdurdod ar y milwyr sydd danaf, ddim ond dyweyd y gair a arferir ei ddyweyd gan rai mewn awdurdod cyffelyb, ac ufuddhâ pob un ohonynt. Y mae pob peth yn y nef a'r ddaear dan dy awdurdod di ; ni raid i ti ond dyweyd wrth yr afiechyd marwol, Dôs, ac efe a ä.

A'r Iesu pan glybu a ryfeddodd. Rhyfeddodd iddo gael lle mor uchel yn meddwl a chalon cenedl-ddyn : "Ni chefais gymaint ffydd," meddai, "na ddo yn yr Israel." Yr oedd ffydd y canwriad yn ei sirioli a'i galonogi gyda'i waith ; a dywed y daw llawer eto o'r dwyrain ac o'r gorllewin, ac a eisteddant gydag

Abraham, ac Isaac, a Jacob yn nheyrnas nefoedd. Wele flaenffrwyth y cynhauaf. Rhydd olwg dywyll ar ddyfodol y bobl sydd yn camddefnyddio eu breintiau crefyddol: "ond plant y deyrnas a deflir i'r tywyllwch eithaf." "A dywedodd yr Iesu wrth y canwriad, Dos ymaith, ac megis y credaist bydded i ti. A'i was a iachawyd yr awr hono." A chawsant y gwas a fuasai glaf yn holliach.

### BYWHAU MAB Y WEDDW O NAIN.

"A bu dranoeth, iddo ef fyned i ddinas a elwid Nain."—LUC vii. 11.

Safai y ddinas hon tua phum' milldir ar hugain i'r de-ddwyrain o Capernaum. Yma, yn ol yr hanes, y rhoddodd yr Iesu yr amlygiad cyntaf ohono ei hun fel yr Adgyfodiad a'r Bywyd. O'i amgylch fel tystion i weled yr amlygiad newydd hwn o'i ogoniant yr oedd llawer o'i ddysgyblion, a thyrfa fawr o'r rhai a ddaethant ar ei ol ef; a bagad o bobl y ddinas, y rhai a ddaethant allan i ddangos cydymdeimlad â'r weddw, unig fab yr hon a ddygid i'r bedd. Crëai yr amgylchiad gydymdeimlad yn y bobl; ac yr oedd edrych ar ddagrau y weddw hon yn anfon ei hunig fab i'r bedd yn cymhell yr Iesu i gymeryd trugaredd arni trwy sychu ei dagrau. Nid oes neb fel efe am sychu dagrau. Dywedodd wrthi, "Nac wyla." Parodd y geiriau tyner yna iddi feddu ffydd ynddo fel Gwaredwr. Dacw gynhebrwng yn sefyll ar ei ffordd i'r gladdfa. Byddai gweled cynhebrwng yn cael ei atal i fyned yn mlaen tua'r bedd yn awgrymu mwy o dristwch i'r galarwyr. Nid felly yma. Wele gynhebrwng yn sefyll i beidio myned yn mlaen tua'r bedd, ac yn dychwelyd i'w cartrefi a'u dagrau wedi eu sychu! Safodd yr Adgyfodiad a'r Bywyd ar y ffordd, a safodd y rhai a ddygai yr elor. Dywedodd yr Iesu, "Y mab ieuanc, yr wyf yn dywedyd wrthyt, Cyfod. A'r

marw a gyfododd yn ei eistedd, ac a ddechreuodd lefaru. Ac efe a'i rhoddes i'w fam." Yn ngolwg y weithred hon dychwelodd y bobl ogoniant i Dduw. Dywedasant âg un llef, "Prophwyd mawr a gyfododd yn ein plith; ac, Ymwelodd Duw â'i bobl." Y mae y weithred hon yn gwasgaru goleuni gobaith ar achos plant marwolaeth.

### DAU O DDYSGYBLION IOAN YN MYNED AT YR IESU.

Anfonodd Ioan o'r carchar ddau o'i ddysgyblion at yr Iesu gyda'r cwestiwn, "Ai ti yw yr hwn sydd yn dyfod? ai un arall yr ŷm yn ei ddisgwyl?" Yr oedd efe wedi gweled yr Iesu, ac wedi clywed y Tad o'r nef yn cyhoeddi, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd;" a gwelodd yr Ysbryd Glân yn disgyn arno megis colomen. Dywedodd am dano wrth ei ddysgyblion, wrth edrych arno yn rhodio, "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Ond wedi cael ei daflu i garchar gan Herod am sefyll dros y gwirionedd, trwy lefaru yn erbyn ei bechod, y mae yn bosibl fod niwl o amheuaeth wedi ymdaenu dros ei feddwl. Dichon i gwestiynau fel hyn godi yn ei feddwl: Ai tybed mai efe ydyw yr hwn sydd yn dyfod? A fuasai efe, tybed, yn gadael ei genad yn y carchar, wedi iddo ymdrechu cymaint i barotoi y ffordd o'i flaen? A dywedai, megis wrtho ei hun, Mi anfonaf ddau o'r bechgyn yma i ofyn iddo. Dichon ei fod yn golygu y byddai anfoniad dau o'i ddysgyblion ato gael ei ddeall gan yr Iesu yn gais am ei ryddhad o'r carchar. Dywedodd yr Iesu wrth y ddau ddysgybl, "Ewch a mynegwch i Ioan y pethau a welsoch ac a glywsoch." Dangosai ei hanes ei gyfaddasder i gyfarfod âg anghenion dynion. Yr oedd yno ddeillion, cloffion, cleifion gwahanol, byddariaid, meirw, a'r tlodion mewn angen iachawdwriaeth. "A'r tlodion yn cael pregethu yr Efengyl iddynt." Yr oedd ef yn abl i gyfarfod â'r am-

rywiol anghenion; gwnai waith glanwaith arnynt oll. Mynegwch fod y cleifion gwahanol wedi eu glanhau. Dywedwch wrtho nad oes neb yn troi ei wyneb ataf fi nad ydwyf yn abl i gyfarfod â'i angen; ac hefyd fod genyf ddigon o iachawdwriaeth i fyd o dlodion. Pan orphenodd Ioan ei waith, derbyniwyd ef i'r nef. Rhagflaenodd yr Iesu mewn dyoddef, a rhagflaenodd ef hefyd i'r nef. Arweiniodd dyfodiad y ddau ddysgybl i'r Iesu roddi tystiolaeth uchel am Ioan. Dywed ei fod yn fwy na phrophwyd, sef cenad Duw i barotoi y ffordd o'i flaen ef. Mae ei deimladau yn tori allan, yn yr olwg ar aneffeithiolrwydd gweinidogaeth Ioan a'r eiddo yntau ar y genedl, a'r camddefnydd a wnaent o'r breintiau goruchel, y rhai a ychwanegent yn ddirfawr at eu cyfrifoldeb; ond ni ddigalonai efe yn yr olwg ar aflwyddiant eu gweinidogaeth; cododd ei olwg at ei Dad, i ddiolch iddo am roddi datguddiad i rai bychain. Dywed, "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad:" gan hyny gwahodda ni ato yn galonog: "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch. Cymerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf; canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon: a chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau." Ni raid i neb anobeithio tra byddo yn y lle y mae "Deuwch" yr Iesu yn swnio yn ei glustiau.

### MAIR YN GOLCHI EI DRAED A'I DAGRAU.

Darfu clywed ei wahoddiad i'r blinderog a'r llwythog effeithio yn ddaionus ar un, yr hon oedd bechadures.. Dangosodd hon gariad mawr tuagato, yn yr ymdeimlad o faddeuant mawr, trwy olchi ei draed â'i dagrau, a'u sychu â gwallt ei phen, pan oedd efe yn eistedd i fwyta yn nhŷ Simon y Pharisead. Gwahoddodd Simon ef, mae yn debygol, er mwyn cael cyfleusdra ychwanegol i'w farnu. Dangosai croesaw Simon i'r Iesu nad oedd

ef wedi ei adnabod, nac wedi profi ei faddeuant, gan na roddodd i'r Gwaredwr y croesaw arferol yn y wlad. Dywed wrtho, "*Ni roddaist i mi ddwfr i'm traed;* ac ni ddarfu i ti roddi y cyfarchiad arferol oddiwrth benaeth y teulu; ond y mae hon wedi dangos cariad mawr tuagataf trwy olchi fy nhraed â'i dagrau, a'u sychu â gwallt ei phen; ac ni pheidiodd a chusanu fy nhraed, ac a'u heneiniodd âg enaint." Tybiai Simon iddo gael tawelwch i'r ymofyniad oedd ynddo o berthynas i'r sôn oedd ar led mai efe oedd y Prophwyd mawr: Pe buasai hwn brophwyd, meddai, ni buasai yn goddef i'r wraig hon gyffwrdd âg ef. Rhoddodd ein Harglwydd reswm digonol am y gwahaniaeth rhwng ei groesaw ef a chroesaw y wraig hon, sef, "Maddeuwyd ei haml bechodau hi; oblegid hi a garodd yn fawr:" Yr oedd ynddi gariad mawr yn codi o'r ymdeimlad o faddeuant mawr, a dywed, "Y neb y maddeuir ychydig iddo, a gâr ychydig." Yn ol croesaw Simon y Pharisead, rhydd yr Iesu awgrymiad iddo, er yn gynil, nad oedd ei feiau ef wedi eu maddeu. Pan yr oedd y wraig hon yn dangos ac yn gweithredu ei chariad at yr Iesu y derbyniodd hi sicrwydd fod ei beiau hi wedi eu maddeu. Dywedodd yr Iesu wrthi, "Maddeuwyd i ti dy bechodau. Dos mewn tangnefedd." Y bobl sydd yn ymdrechu i ddangos a gweithredu eu cariad i'r Maddeuwr sydd debycaf o dderbyn sicrwydd fod eu beiau wedi eu maddeu; ac nid pobl sydd yn pendrymu mewn segurdod uwchben eu hachos eu hunain. Trwy faddeu i hon dangosodd ein Gwaredwr ei fod ef yn Dduw parod i faddeu, ac mai trwy faddeuant y'n dyrchefir i'w ogoneddu.

Y mae genym hanes yr Iesu a'i ddysgyblion, tua'r adeg hon, yn myned eilwaith ar gylchdaith yn Galilea, gan bregethu ac efengylu teyrnas Dduw. Y mae genym hefyd hanes gwragedd o Galilea yn gweini arno, y rhai

a iachaodd efe oddiwrth ysbrydion drwg a gwendid. Dygwyd ato un cythreulig, dall, a mud, ac efe a'i hiachaodd ef, fel y gwelodd ac y llefarodd y dall a mud. Yr oedd y bobl yn rhyfeddu at y weithred hynod, ond dywedai y Phariseaid mai trwy Beelzebub, penaeth y cythreuliaid, yr oedd efe yn bwrw allan gythreuliaid. Tŷ wedi ymranu yn ei erbyn ei hun, medd yr Iesu, ni ddichon hwnw sefyll. Rhaid cael un cryfach na'r cryf arfog i'w orchfygu, a dwyn ei arfogaeth ef.

Rhybuddiai ein Harglwydd am y perygl o bechu yn erbyn yr Ysbryd Glân.

# PENOD VI.

*Yr Iesu yn llefaru saith o ddamegion—Tawelu y storm ar y môr—Yn Gadara, yn iachau y dyn cythreulig—Matthew yn gwneyd gwledd i'r Gwaredwr—Ymddiddan yu nghylch ymprydio—Bywhau merch Jairus—Y wraig yn d'od yn iach trwy gyffwrdd âg ymyl ei wisg.*

## YN LLEFARU DAMEGION.

"Ac efe a lefarodd wrthynt lawer o bethau trwy ddamegion."—MATTH. xiii. 3.

PAN yr eisteddodd yr Iesu ar lan y môr, ymgynullodd torfeydd lawer ato, fel yr aeth efe i'r llong a'r torfeydd ar y làn; yna eisteddodd, a dysgodd hwynt trwy ddamegion. Defnyddiai yr hyn a gymerai le mewn bywyd cyffredin i osod allan wirioneddau cyfatebol, ond mwy sylweddol, yn y byd ysbrydol. Nid oes dim cyfatebol mewn iaith i ddamegion ein Harglwydd, mewn symledd, cyflawnder, amrywiaeth, ac addysg ysbrydol. Cyfaddas ydynt i bob dosbarth a safle yn nghylchoedd cymdeithas. Deallir hwynt yn ol gallu ysbrydol pob un. Yr adeg hon llefarodd saith o ddamegion, yr hyn a ystyrir yn rhif cyflawn. Llefarodd y pedair cyntaf wrth y torfeydd, a'r tair ddiweddaf wrth y dysgyblion. Nid anmhriodol fyddai edrych ar ddameg yr hauwr fel rhagymadrodd i'r gweddill; a gellir edrych ar y chwech ereill yn gymhariaid, fel y canlyn: dameg yr efrau, a dameg y rhwyd a fwriwyd yn y môr; dameg

yr had mwstard, a dameg y surdoes; dameg y trysor cuddiedig, a dameg y perl gwerthfawr. Mae dameg yr hauwr yn dangos fod llwyddiant y gair yn dibynu ar gymhwysder y galon i dderbyn y gair. Hynod o amrywiol ydoedd ei wrandawyr ar lan y môr y pryd hwn. Dywedai rhai mai trwy Beelzebub, penaeth y cythreuliaid, yr oedd efe yn bwrw allan gythreuliaid, i'r rhai y rhoddodd efe rybudd am y perygl o bechu yn erbyn yr Ysbryd Glân. Oherwydd y camddefnydd a wnaent o'u rhagorfreintiau, dywedai ein Harglwydd y cyfodai gwyr Ninifeh a brenhines y dehau yn y farn i'w condemnio. Pobl oeddynt wedi tywyllu eu deall, ac wedi disgyn i ddallineb ysbrydol trwy bechu yn erbyn Duw.

I gyfarfod ymofyniad y dysgyblion, paham y llefarai wrth y dyrfa trwy ddamegion, dywedai yr Iesu mai i roddi mantais newydd i'r gweiniaid eu deall a'u meddwl i feddianu gwybodaeth helaethach o wirioneddau yr Efengyl y llefarai efe felly wrthynt. I'r hwn y mae ganddo y rhoddir; ond am y rhai, trwy bechu yn erbyn Duw, oeddynt wedi disgyn i ddallineb ysbrydol, ni ddeallent, er clywed; ni chanfyddent, er gweled. Y mae efe yn llongyfarch y rhai oeddynt yn meddu llygaid i weled, a chlustiau i glywed hyfryd lais ei Efengyl ef. Chwenychodd llawer o brophwydi glywed a gwrando ei hyfryd lais ef.

Yn nameg yr hauwr geilw sylw y gynulleidfa at bedwar math o wrandawyr, y rhai a osodir allan trwy yr had yn disgyn ar fin y ffordd. Nid oes bridd i guddio yr had, gan hyny y mae yr adar yn ei gipio ymaith. Y mae y gwrandawr hwn wedi caledu ei galon trwy dwyll pechod. Y mae y pechodau sydd allan yn y byd wedi ei droedio nes ei wneyd yn galed, ac wedi tywyllu ei ddeall—"ac heb ei ddeall." Mae y gelyn, trwy feddyliau drwg, pleserau a chwantau y cnawd, fel adar

ysglyfaethus, yn cipio yr hyn a hauwyd yn ei galon rhag iddo gredu ei fod yn gadwedig.

Mae y gwrandawyr a osodir allan trwy i'r had ddisgyn ar greigleoedd, neu ar graig, yn derbyn y gair yn llawen. Hoffant wahoddiadau ac addewidion yr Efengyl, ond nid yw effeithiau y gair yn myned yn ddyfnach na'u teimladau; nid ydyw wedi gwreiddio yn y galon. Y mae mwy mewn gwir grefydd na theimladau hyfryd; cilio y mae hwn am nad oes wreiddyn ynddo ei hun pan y gelwir arno i hunanymwadu ac i aberthu er mwyn Crist—yn nydd profedigaeth yn cilio.

Yn y gwrandawr a arddangosir trwy i'r had syrthio yn mysg drain, y mae y gair yn tyfu hyd at broffes o grefydd; ond y mae gofalon bydol a thwyll cyfoeth yn tagu y gair fel y mae yn myned yn ddiffrwyth.

Na ddigaloned yr hauwr i hau, y mae y gair yn canfod tir da, ac yn dwyn ffrwyth i berffeithrwydd. Y mae y gwrandawr hwn yn gwrando y gair ac yn ei ddeall. Pa fodd y mae y galon yn dda cyn i'r gair ei gwneyd hi yn dda? Y mae hwn yn derbyn y gair gyda chalon hawddgar a da, neu galon onest a da, medd Luc. Er nad ydyw calon y gwrandawr hwn yn cynwys y daioni a gynyrchir gan y gair, eto y mae ynddi fesur o barodrwydd a chymhwysder i dderbyn y gair. Tebyg ydyw hwn i Nathanael, yn yr hwn nid oedd dwyll. Y mae y galon onest a da yn dyfod o'r un man â'r gair, sef oddiwrth Dduw.

Trwy ddameg yr efrau, a dameg y rhwyd a fwriwyd i'r mor, dysgir ni mai cymysg ydyw eglwys Dduw yn y byd hwn. Er y bydd ysgariad rhwng y drwg a'r da yn niwedd amser, y mae cais y gweision, pan y gofynant, "A fyni di gan hyny i ni fyned a'u casglu hwynt?" yn golygu llwyr ysgariad yn y byd hwn rhwng y drwg a'r da; a'r un o ran ei natur a chais y dysgyblion gyda

golwg ar y Samariaid, y rhai a wrthodasant groesawu eu Harglwydd: "A fyni di ddywedyd ohonom," gofynent, "am ddyfod tân i lawr o'r nef a'u difa hwynt, megis y gwnaeth Elias." Nid ydyw gwirionedd y damegion hyn yn milwrio yn erbyn dysgyblaeth eglwysig, yr hyn a ddysgir mewn rhan arall o'r gair. Cais y gweision ydyw, nid ceryddu, dysgyblu, a rhybuddio yr afreolus, ond gwahanu rhwng y drwg a'r da yn y byd hwn. Nid ydyw efe yn caniatau iddynt wahanu rhwng y drwg a'r da, gan fod diwrnod wedi ei osod, a Gwr cymhwys wedi ei ordeinio i farnu y byw a'r meirw. Yn nameg yr efrau y mae tarddiad y drwg yn amlwg, a rhoddir mwy o arbenigrwydd ar y didoliad yn nameg y rhwyd a fwriwyd i'r mor. Ni raid i'r gweision ddigaloni wrth edrych ar anmherffeithrwydd yr eglwys, na rhyfeddu at ei diffygion—y mae y gelyn yn hau efrau yn mysg y gwenith.

Cydmariaeth brydferth a chalonogol o ddechreuad bychan a chynydd effeithiol y deyrnas ydyw dameg yr had mwstard, a dameg y surdoes: y gyntaf yn gosod allan gynydd allanol y deyrnas, a'r ail gynydd mewnol y deyrnas. Er mai y lleiaf o'r holl hadau yw yr hedyn mwstard, y mae yn tyfu hyd nes myned yn bren, ac yn gartref i adar yr awyr; y mae yn y cartref gysgod, diogelwch, a chynhaliaeth. Dyma fel y dywed y brophwydoliaeth: "Ar fynydd ucheldir Israel y planaf ef; ac efe a fwrw frig ac a ddwg ffrwyth; ac a fydd yn gedrwydden hardd deg; a phob rhyw asgell a drig dani; dan gysgod ei ganghenau y trigant." Syml a dystadl, fel yr had mwstard, ydoedd teyrnas Crist yn ei dechreuad; ond er fod ei dechreuad yn fychan, ei diwedd a gynydda yn ddifesur. Dacw ddau o ddysgyblion Ioan yn troi eu gwynebau at yr Iesu; Andreas, brawd Simon Petr, oedd un o'r ddau, yr hwn a ddygodd ei frawd ei hun, Simon, at yr Iesu. Ar ddydd y Pente-

cost, trwy bregeth Petr, dwys-bigwyd yn eu calonau dros dair mil o wahanol barthau y byd. Er y ddau gyntaf a droisant eu gwynebau at y Gwaredwr, cynyddu wnaeth yr eglwys; a chynyddu a wna ei deyrnas ef hyd nes y cyhoedda yr angel yn nghanol y nef, "Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef." "Yma y trigaf, ac yma y gorphwysaf," meddai un, "canys chwenychais hi." "Preswyliaf yn dy babell byth, a'm hymddiried fydd dan gysgod dy adenydd." Y mae yma wir gysgod, diogelwch, a chynhaliaeth.

Yn nameg y surdoes daw i'r golwg allu yr Efengyl i dreiddio a chyfnewid dynion i'r un egwyddorion a delw ag Awdwr ein hiachawdwriaeth. Nid oes neb da ond un, sef Duw; ac nid oes neb ond efe a fedr wneyd dynion drwg yn ddynion da. Y mae y surdoes yn gweithio nes dwyn y tri mesur o flawd dan yr un egwyddorion âg ef ei hun. Mynegir gwaith ei ras yn y derbynwyr. "Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi." Y mae yr Efengyl nid yn unig i lefeinio dynion, ond i lefeinio sefydliadau a chymdeithasau y byd â'i hegwyddorion.

Yn nameg y trysor cuddiedig a'r perl gwerthfawr daw i'r golwg werth anmhrisiadwy y deyrnas. Y mae gwerth y deyrnas yn cynwys gwerth Crist ei hun. Nid yn unig y mae y deyrnas i gynyddu, ond y mae ynddi werth mawr; y mae hi yn fawr mewn ansawdd a maint. Er ei bod yn fychan a syml yn ei dechreuad, y mae yn drysor a pherl gwerthfawr. Dangosir i ni yma mai trwy ymdrech bersonol y mae i ni feddianu y deyrnas. Y mae un yn cael golwg ar ei gwerth yn annisgwyliadwy; y mae y llall yn ceisio perlau teg. Cafwyd fi, meddai, gan y rhai nid ymofynasant am danaf. Yr oedd Nicodemus yn ceisio yr Jesu; daeth y wraig wrth y ffynon o hyd i ddyfroedd bywiol yr iachawdwriaeth yn annisgwyliadwy.

## YN HUNO YN Y LLONG.

"Nid oes fel tydi yn mysg y duwiau, O, Arglwydd; na gweithredoedd fel dy weithredoedd di."—SALM lxxxvi. 8.

Mae ein Gwaredwr yn abl i gyfarfod â phob amgylchiad; ni raid i'w ganlynwyr ofni gwynebu tymhestloedd y byd hwn a'r byd a ddaw gydag ef. Dywed un wedi ei adnabod: "Pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu, nid ofnaf niwed, canys yr wyt ti gyda mi." Dywedodd ein Harglwydd wrth ei ddysgyblion, wedi llefaru y damegion ar lan y mor, Awn trosodd i'r tuhwnt i'r llyn. Ac wedi gollwng y dyrfa hwy a gychwynasant. Yma dangosodd ei fod ef yn ddyn yn feddianol ar ein gwendidau dibechod: yr oedd wedi blino yn pregethu i dyrfa fawr ar lan y mor, ac fel yr oeddynt yn hwylio efe a hunodd. Yr oedd y llong megis cryd yn ei siglo i gysgu. Manyla Marc ar hanes ei gwsg. Dywed, "Ac yr oedd efe yn y pen ol i'r llong, yn cysgu ar obenydd." Gobenydd go galed, mae lle i ofni, oedd y gobenydd. Gresyn, hefyd, na fuasai y byd yn darparu gwell lle i orphwyso i'r pregethwr goreu a welodd erioed; a phan yr oedd efe wedi llefaru na lefarodd neb dyn yn gyffelyb iddo: ymfoddlonai i amgylchiadau cyffredin. Manteisiol iddo i gael hûn dawel wedi blino oedd ei fod yn gweithio gwaith yr hwn a'i hanfonodd er ei lwyr foddlonrwydd; ac nid fel Jonah yn y llong yn dianc rhag cyflawni gorchymyn ei Dad. Profodd hûn dawel wedi llafur y dydd, fel nad oedd y dymhestl yn aflonyddu dim arno. Os oedd y gelyn yn meddu math o awdurdod am dymhor ar elfenau natur, gwnaeth iddynt gweryla â'u gilydd yr adeg hon, er mwyn ceisio aflonyddu ar gwsg yr hwn oedd yn gweithio yn ddyfal i wneuthur ewyllys ei Dad. Cyfododd tymhestl mor anghyffredin fel yr oedd y rhai oedd dra chydnabyddus â thymhestloedd Mor Galilea wedi myned i ofni am eu bywyd. "A

hwy a'i deffroisant ef gan ddywedyd, O, Feistr, Feistr, darfu am danom. Ai difater genyt ein colli ni? Arglwydd, cadw ni." Deffrodd yr Iesu o'i gwsg, a dywedodd wrth y gwynt a'r mor, "Gostega, distawa; a bu tawelwch mawr." Dywed y rhai sydd yn gydnabyddus â'r mor nad ydyw y mor yn tawelu am ddyddiau wedi i'r dymhestl ostegu; ond yma dangosodd ufudd-dod i'w Arglwydd: a hi a aeth yn dawel iawn. Gofynodd yr Iesu i'r dysgyblion, "Paham yr ydych yn ofnus, O chwi o ychydig ffydd?" Gallem dybio mai nid eu ceryddu yr oedd efe am ofni, ond ceryddodd hwynt am ofni yn yr ystorm pan yr oedd efe gyda hwynt, ac yn un ohonynt. Yn ol eu cyfarchiad, efe oedd eu Meistr, ac efe oedd penaeth y fordaith. Wele yr hwn a daenodd y nefoedd fel llen yn cysgu wedi blino trwy lafur y dydd; a'r fynud nesaf yn llefaru wrth y gwynt a'r mor, y rhai oedd yn ffraeo â'u gilydd, "Gostega, distawa; a bu tawelwch mawr." Parodd yr amlygiad newydd hwn ohono ei hun iddynt ofyn, "Pwy yw hwn, gan fod y gwynt a'r mor yn ufuddhau iddo?" Cawsant olwg newydd arno; teimlent yn hyfryd wrth feddwl nad oedd raid iddynt ofni gwynebu tymhestloedd o bob math gydag ef. Gan fod awenau ystormydd y byd yn ei law, gall efe atal y gwynt garw ar ddydd dwyreinwynt. Pan y bydd mor amgylchiadau a'i dymhestloedd yn curo arnom, ni gawn ofyn iddo ef, "Arglwydd, cadw ni." Parod ydyw efe i wrando cri o gyfyngder.

### YN GADARA.

Cawsant dawelwch am ychydig, ond wedi cyrhaedd y lan o du y dwyrain i For Galilea, neu yn hytrach yr ochr ddeheuol i'r mor, oherwydd y mae Gadara, y lle y darfu iddynt lanio, yn taro ar y lan ddeheuol i'r mor. Cyfododd tymhestl o gyfeiriad arall. Ymosododd y gelyn

arno yn fwy dan ei gymeriad ei hun. Pan gyrhaeddodd y lan yn ngwlad y Gergesiaid, cyfarfu dau ddieflig âg ef, y rhai a ddeuent o'r beddau yn dra ffyrnig, fel na allai neb fyned y ffordd hono. Rhydd Marc a Luc hanes un, am mai un, y mae yn debyg, a redodd gyntaf at yr Iesu. Hwn o'r ddau oedd fwyaf amlwg mewn ymdrafodaeth âg ef. Un o ymosodiadau ar y Gwaredwr gan gythreuliaid, dan arweiniad y penaeth, a gawn ni yn yr hanes rhyfedd hwn. Yr oedd y dyn hwn yn gartref i gythreuliaid er's talm o amser, fel yr oedd wedi myned yn boenedigaeth yn y wlad: "ni allai neb fyned y ffordd hono." Dangosodd ein Gwaredwr y pryd hwn ei fod yn gryfach na'r cryf arfog, a bod yn rhaid, nid yn unig i'r gwynt a'r mor ufuddhau iddo, rhaid hefyd oedd i leng o gythreuliaid ufuddhau iddo. Dywedir fod lleng yn cynwys chwe' mil. Rhoddodd yr Iesu orchymyn i'r ysbryd aflan fyned allan o'r dyn. Dywedodd, "Ysbryd aflan, dos allan o'r dyn." Yn y profiad o awdurdod ei orchymyn, gofynodd, "Beth sydd i mi a wnelwyf â thi, Iesu, Mab y Duw goruchaf?" Wedi deall fod yn rhaid iddynt oll ymadael o'r dyn, yr hwn oedd yn hen gartref iddynt, ymbiliasant na yrai efe hwynt allan o'r wlad. Dywedai un pregethwr eu bod yn dymuno cael bod yn y gymydogaeth a'r wlad am eu bod yn hen gydnabyddus â theuluoedd y gymydygaeth a'r wlad, ac nid oedd arnynt eisieu eu newid. Ond darfu dyfodiad y Llew o lwyth Judah aflonyddu ar dawelwch y llew rhuadwy a'i weision. Dan rybudd i ymadael o'r dyn, gofynasant, "Danfon ni i'r moch." Yr oedd yno ddwy fil o foch yn pori ar y mynyddoedd gerllaw. Caniataodd yr Iesu i'r cythreuliaid fyned i'r moch. Gwaith yr ysbrydion drwg oedd peri i'r moch ruthro dros y dibyn i'r mor. Ffordd i dalu y pwyth iddo am aflonyddu ar eu hen gartref, yr ydym yn tybio, oedd y cais hwn, trwy gyffroi y meichiaid a phobl y wlad yn ei erbyn. Barna beirniaid uchel mewn

hanesyddiaeth mai Iuddewon oedd y meichiaid hyn, a'u bod yn troseddu cyfraith Duw i'r genedl trwy ddelio yn yr alwedigaeth uchod, ac am droseddu cyfraith Duw iddynt y cospwyd hwynt yn yr amgylchiad. Mynegodd y meichiaid yr hanes i bobl y ddinas er mwyn eu cyffroi yn ei erbyn ef. Pan y daethant at yr Iesu cawsant y dyn o'r hwn yr aethai y cythreuliaid allan, yn ei ddillad a'i iawn bwyll, yn eistedd wrth draed yr Iesu. Golygfa pur naturiol oedd hon. Ni ddarfu pobl y wlad ei dderbyn ; ond dymunasant arno fyned ymaith o'u gwlad. Dacw fe yn gadael y wlad wedi gosod ei arswyd ar gythreuliaid a dynion. Anfonodd y dyn a dderbyniodd waredigaeth adref i fynegi i'r teulu faint a wnaeth yr Arglwydd iddo. "Dos i'th dŷ," meddai, "at yr eiddot, a mynega iddynt pa faint a wnaeth yr Arglwydd erot, ac iddo drugarhau wrthyt." Cyhoeddodd y dyn trwy Decapolis pa bethau eu maint a wnaethai yr Iesu iddo, a phawb a ryfeddasant.

### GWLEDD YN NHY MATTHEW.

**"Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion."—MATTH. ix. 12.**

Gwnaeth Matthew neu Levi wledd fawr yn ei dŷ. Eisteddai i fwyta gyda'r Iesu a'i ddysgyblion yn y wledd luaws mawr o bublicanod a phechaduriaid. Yr oedd Matthew wedi gweled yr Iesu, ac wedi ei alw ganddo cyn hyn yn ddiau. Yr hunan-gyfiawn ydyw y tebycaf o ddiystyru a gwrthod y Gwaredwr. Wrth edrych ar yr Iesu yn eistedd ac yn bwyta gyda'r publicanod a'r pechaduriaid, gofynasant i'w ddysgyblion, "Paham y bwyty eich athraw chwi gyda'r publicanod a'r pechaduriaid? yr ydym ni yn ofalus iawn rhag cael ein halogi ganddynt." Mwy oedd eu gofal am enw da trwy hunan-gyfiawnder a rhagrith na'u hawydd am wneyd lles i'w cyd-ddynion. Dywed wrthym yn ei Air, "Ac na fydded

i chwi gyd-gyfeillach â gweithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch;" ond nid ydyw yn golygu i ni beidio myned i gyffyrddiad â'r bobl sydd yn eu cyflawni i'w hargyhoeddi hwynt, "eithr yn hytrach," meddai, "eu hargyhoeddi hwynt."

I gyfarfod â'u hymofyniad, dywed yr Athraw ei hun, "nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion." Yr ydych chwi yn ystyried eich hunain yn iach: nid ydwyf gan hyny yn dyfod atoch chwi, am nad oes arnoch angen am danaf; yr ydwyf fi yn myned i le y mae angen am danaf, ac yno yr ydwyf fi yn cael derbyniad; nid oes a fynwyf â chwi. Y mae y meddyg yn ewyllysio troi yn mysg y cleifion. Pa faint o galonau drylliog a chystuddiol a rwymodd y geiriau hyn? Y Meddyg Mawr ei hun, yr hwn a ddichon yn gwbl iachau, yn ewyllysio troi yn mysg cleifion ysbrydol. "Trwy gleisiau yr hwn yr iachawyd ni." Rhoddodd yr Athraw dasg i'r beirniaid hunan-gyfiawn a rhagrithiol hyn. "Ond ewch," meddai, "dysgwch pa beth yw hyn. Trugaredd yr ydwyf yn ewyllysio, ac nid aberth; canys ni ddaethum i alw rhai cyfiawn ond pechaduriaid i edifeirwch. Trugaredd yn hytrach nag aberth yr ydwyf yn ewyllysio." Golyga aberth yma ymlyniad yn unig wrth reolau a ffurfiau y ddeddf seremoniol. Golyga trugaredd y fath dosturi at y colledig nes gwneyd ymdrech i'w gadw. Daeth Mab y dyn i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid, yr hwn a edrych i lawr o uchelder ei gysegr i wrando ochenaid y carcharorion, ac i ryddhau plant angeu. Y mae efe yn disgwyl i drugarhau, ïe, efe a ymddyrchafa i dosturio; "yn ei gariad ac yn ei drugaredd y gwaredodd efe hwynt." "Efe a achub, efe a lawenycha o'th blegid gan lawenydd; efe a lonydda yn ei gariad; efe a ymddigrifa ynot dan ganu." Ymddigrifa y fam yn ei phlentyn wrth ei fagu: y mae yn ei fagu dan ganu. Y mae ein Duw a'n Ceidwad yn

ymddigrifo yn y pechadur wrth ei gadw. Pwy sydd yn cael ei drugaredd achubol? Yr hwn sydd yn ei cheisio. Pwy sydd yn ceisio ei drugaredd? Yr hwn sydd yn teimlo ei angen am dani, ac wedi blino ar ei faich o bechod; ac nid y cyfiawn yn ei olwg ei hun. Y mae "deuwch" yr Iesu at y blinderog a'r llwythog.

### GWERS YR IESU AR YMPRYDIO.

Gofynodd dysgyblion Ioan iddo, "Paham yr ydym ni a'r Phariseaid yn ymprydio yn fynych, ond dy ddysgyblion di nid ydynt yn ymprydio?" Yr oedd y Phariseaid yn gor-wneyd y ddyledswydd o ymprydio. Ni ofynai cyfraith Moses iddynt ymprydio ond un diwrnod, sef ar wyl y cymod; ond ymprydient hwy yn ol traddodiad y tadau, ddwywaith yn yr wythnos. Dan yr Hen Destament yr oedd ymprydio yn orchymyn ac yn fuddiol i farweiddio yr hyn o ran ei natur oedd yn ddrwg; ond yr oedd ei wneuthur i borthi ac i feithrin balchder a rhagrith yn gamddefnydd o'r gorchymyn. Gofynodd ein Harglwydd gwestiwn i ateb eu cwestiynau hwy: "A all plant yr ystafell briodas alaru tra fo y priodfab gyda hwynt? Hwy a gänt alaru ac ymofidio wedi i mi eu gadael, ac yna yr ymprydiant." Defnyddia gymhariaeth i ddangos y perygl o gymysgu pethau yr hen oruchwyliaeth â phethau yr oruchwyliaeth newydd. Fel y mae llain o frethyn newydd at hen ddilledyn yn gwneyd y rhwyg yn waeth, ac fel y mae gwin newydd yn y perygl o dori hen gostrelau, felly y mae cymysgu seremoniau a defodau yr Hen Destament a rhyddid ysbrydol y Testament Newydd yn niweidiol i'r ddwy oruchwyliaeth.

### AR EI FFORDD I DY JAIRUS.

Tra yr oedd efe yn nhy Matthew daeth Jairus ato, un o benaethiaid y synagog, ac a fawr ymbiliodd arno i dd'od i'w dŷ i waredu rhag angau ei unig ferch, a'i unig

blentyn, yr hon ydoedd ei unig-anedig, gan syrthio wrth draed yr Iesu. Gwrandawodd ar ei gais taer; ac yn ebrwydd efe a aeth gydag ef, yn cael ei ddilyn gan ei ddysgyblion a thyrfa o bobl, y rhai a wasgent arno. Ac fel yr oedd efe yn myned, daeth gwraig o'r tu ol iddo, ac a gyffyrddodd â'i wisg ef, yr hon oedd wedi bod ddeu-ddeng mlynedd dan afiechyd anfeddyginiaethol, gan ddywedyd ynddi ei hun, "Os caf yn unig gyffwrdd âg ymyl ei wisg, iach fyddaf." Credai pe cawsai hi fyned i gyffyrddiad â'r Iesu y buasai hi yn cael ei gwneyd yn iach, er ei bod wedi treulio ei holl gyfoeth ar feddygon y wlad.

Nid digon gan ffydd y wraig hon oedd bod yn y dyrfa oedd yn ei ganlyn, yr hon oedd yn gwasgu arno, heb gyffyrddiad personol âg ef. Ymdrechai ei ffydd i gael cyffwrdd a chael undeb personol â'i Gwaredwr; ym-drechai ei ffydd hi, er mwyn d'od yn iach, i gael cyffwrdd âg ymyl ei wisg ef. Profa yr ymdrech a wnaeth y wraig hon mai trwy undeb a chyffyrddiad personol â'r Iesu y mae cyfranogi ohono. Mynega hanes ymdrech ei ffydd yr angenrheidrwydd am undeb personol â'n Gwaredwr i gaffael iachawdwriaeth, ac am y perygl o fod yn y dyrfa sydd yn ei ganlyn, heb ddim personol rhyngom âg ef.

Dacw hi, yn nerth ei ffydd, yn tori trwy y dyrfa, ac yn cyffwrdd â'i wisg ef, ac yn ebrwydd daeth yn gwbl iach. Gofynodd yr Iesu, "Pwy yw a gyffyrddodd â mi?" Dywedodd Petr, "Y mae pawb yn cyffwrdd â thi; y mae y dyrfa yn dy wasgu." "Rhyw un," meddai, "a gyffyrddodd â mi." Y mae ef yn adnabod yn dda gyffyrddiad ffydd trwy ei fod yn cyfarfod â'i chais. Ond y wraig, gan ofni a chrynu, a ddywedodd iddo yr holl wirionedd. Ni fuasai raid iddi ofni a chrynu wrth ei glywed yn gofyn. Paham yr oedd ef yn gofyn?

Dymunai dd'od i fwy o gydnabyddiaeth â hi. Y dydd hwnw adnabuant eu gilydd, yr hyn a drodd yn elw tragywyddol iddi hi. Dywedodd wrthi, "Ha ferch, bydd gysurus, dy ffydd a'th iachaodd." Dechreuodd brofi gwir gysur pan y dywedodd ef, "Bydd gysurus."

### BYWHAU MERCH JAIRUS.

Trugarhaodd wrth y wraig ar y ffordd i dŷ penaeth y synagog. Calonogol iddo gyda ei waith ydoedd gweled ffydd y bobl ynddo. Tra yr oedd ef yn cysuro y wraig, dywedodd un wrth benaeth y synagog, "Bu farw dy ferch: na phoena mo'r athraw." Yn ngwyneb y newydd trist, dywedodd yr Iesu wrtho, "Nac ofna, cred yn unig." Ni raid i ti ofni, er ei bod hi wedi marw, trwy gredu yn yr adgyfodiad a'r bywyd. Yn ol ei hanes yr amgylchaid hwn oedd y waith gyntaf iddo alw Petr, ac Iago, ac Ioan yn dystion iddo. Y mae yn bosibl fod rhai o'i bobl yn fwy anwyl ganddo. Fel y mae ambell un yn fwy dymunol a hoffus nag ereill, dichon fod Petr, Iago, ac Ioan felly gyda'r Iesu. "Y dysgybl yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu" y mae Ioan yn galw ei hun. Byddai gyda'r Iuddewon, meddir, alarwyr cyflogedig. Yr oedd y galarwyr hyn wedi cyrhaedd tŷ y penaeth o flaen yr Iesu, y rhai a fwriodd efe allan. Gwrthodedig gan ein Iachawdwr ydyw y gau. Galwodd dad a mam y ferch a'r tri dysgybl gydag ef i fod yn dystion. Cymerodd hi erbyn ei llaw, ac a lefodd gan ddywedyd, "Herlodes, cyfod," y ferch cyfod, a'i hysbryd hi a ddaeth drachefn, a hi a gyfododd yn ebrwydd; ac er mwyn rhoddi boddlonrwydd iddynt ei bod hi yn fyw, ac er mwyn rhoddi gwaith i'w cariad tuagati, gorchymynodd iddynt roddi bwyd iddi. Hyfrydwch iddynt oedd gwneyd ei orchymyn, a thrwy hyny sicrhawyd eu meddyliau ei bod hi yn fyw ac yn iach. Y mae bywyd yn gofyn cynhaliaeth. Lle bynag y mae bywyd ac iechyd y mae yn

gofyn ymborth fel cynhaliaeth. Lle bynag y mae bywyd ysbrydol, y mae yn gofyn ymborth ysbrydol. Rhoddodd orchymyn na ddywedent i neb y peth a wnaethid. Y mae yn anhawdd gwybod paham yr ewyllysiai efe gadw hyn yn gyfrinach o fewn cylch bychan. Nid anghofiodd y teulu gymwynasgarwch yr Iesu yn ddiau; a gallem ddisgwyl iddynt gael bendith ar yr amlygiad hwn a roddodd ohono ei hun trwy ei adnabod fel eu hunig Geidwad.

# PENOD VII.

*Yr Iesu yn rhoddi golwg i ddau ddeillion—Yn myned o amgylch i bregethu ac iachau—Anfon ei ddeuddeg apostol allan i bregethu—Marwolaeth Ioan yn awgrymu i feddwl yr Iesu ei farwolaeth ei hun—Y deuddeg yn dychwelyd, ac yn mynegi eu hanes—Crist a'i ddysgyblion yn ymneillduo i anialwch Bethsaida—Yn porthi y miloedd—Y dysgyblion yn y llong, a'r Iesu wrtho ei hunan yn gweddio.*

## YR IESU YN RHODDI GOLWG I DDAU DDYN DALL.

AR ei ddychweliad o dŷ Jairus, dau ddeillion a'i canlynasant ef, ac a lefasant, "Iesu, Fab Dafydd, trugarha wrthym." Y beroriaeth uwchaf yn ei glywedigaeth ef ydyw llef pechaduriaid am drugaredd. Caniataodd iddynt ddyfod ato i'r tŷ; ac wedi iddynt fynegi eu crediniaeth yn ei allu i agoryd llygaid y deillion, dywedodd wrthynt, "Yn ol eich ffydd bydded i chwi," a'u llygaid a agorwyd. Dywedodd yr Iesu wrthynt, "Gwelwch na wypo neb." Yr oedd hon yn weithred arwyddocaol, ac yn rhan o'r brophwydoliaeth am dano. Tystiolaethai dallineb naturiol am ddallineb ysbrydol, a thystiolaethai efe wrth roddi golwg i ddeillion ei fod wedi ei alw i fod yn gyfamod pobl, ac yn oleuni y cenhedloedd,—"I agoryd llygaid y deillion, i ddwyn allan y carcharor o'r carchar, a'r rhai a eisteddant mewn tywyllwch o'r carchardy." Ni ddarfu iddynt ufuddhau i'w orchymyn ef: rhoisant ollyngdod i'w teimladau o

lawenydd a'u diolchgarwch iddo ef am eu gwaredu o'u dallineb. "Hwy a'i clodforasant ef trwy yr holl wlad hono." Eithr eu dyledswydd oedd ufuddhau i orchymyn pendant eu Hiachawdwr.

Yn ei drydedd gylchdaith yn Galilea yr Iesu a aeth o amgylch yr holl ddinasoedd a'r trefydd, gan ddysgu yn eu synagogau hwynt, a chan bregethu Efengyl y deyrnas, a iachau pob clefyd, a phob afiechyd yn mhlith y bobl.

Torodd allan ei dosturi wrth edrych ar y torfeydd, am eu bod wedi blino, a'u gwasgaru fel defaid heb ganddynt fugail. Dywedodd wrthynt, Y cynhauaf yn ddiau sydd fawr, ond y gweithwyr yn anaml. "Gan hyny, atolygwch i Arglwydd y cynhauaf anfon gweithwyr i'w gynhauaf."

### ANFON Y DEUDDEG APOSTOL.

"Byddwch chwithau gall fel y seirph, a diniwed fel y colomenod."—MATTH. x. 16.

Yma yr ydym yn ei gael yn anfon ei ddeddeg apostol bob yn ddau i gadarnhau ei ddysgeidiaeth, ac i wneuthur gweithredoedd o drugaredd yn ei enw ef. Cyn eu hanfon rhydd iddynt rybuddion a chyfarwyddiadau. Yn y cynghor dywed pa leoedd yr oeddynt i fyned i bregethu, y gwaith oeddynt i'w gyflawni, y genadwri oeddynt i'w thraddodi, a'r modd yr oeddynt i ymddwyn. "Nac ewch," meddai, "i ffordd y Cenhedloedd, nac i ddinas y Samariaid, nac ewch i mewn iddi." Cylch y daith hon ydoedd cyfr-golledig tŷ Israel; y genadwri i'w phregethu oedd fod teyrnas nefoedd yn nesau; y gwaith y darfu iddo eu cymhwyso, a'u hawdurdodi i'w gyflawni, oedd iachau y cleifion, glanhau y gwahanglwyfus, cyfodi y meirw, a bwrw allan gythreuliaid. Yr oeddynt i ddibynu ar ei ofal ef, ac i weithredu yn ol ei gyfarwyddyd. Darfu ei eiriau a'i weithredoedd yn Galilea wneyd rhai pobl yn deilwng i dderbyn ei apostolion. Dywed

wrthynt am beidio darparu i'r daith. Canys teilwng i'r gweithiwr ei fwyd. Gofala efe am i'w weithiwr gael bwyd. "Byddwch yn fendith i'r teuluoedd," meddai wrthynt. Yr oedd y tŷ a roddai dderbyniad iddo ef yn well o'i bresenoldeb ef ynddo. Ei ewyllys ef ydyw i'r tŷ gael ei fendithio trwy roddi derbyniad i'w weision; "ac os bydd y tŷ yn deilwng, deued eich tangnefedd arno." Golyga y gair "teilwng" yma, pobl nid o safle uchel yn y byd, ond o dueddiadau cydnaws â'r apostolion a'u gwaith. "Os bydd i dŷ neu ddinas eich gwrthod," meddai, "dangoswch anghymeradwyaeth trwy ysgwyd y llwch oddiwrth eich traed." Byddai yr Iuddewon yn ysgwyd y llwch oddiwrth eu traed pan yn dychwelyd oddiwrth y Cenhedloedd, i ddangos ar gyhoedd nad oeddynt yn derbyn dim oddiwrthynt, ac nad oedd dim a fynent â hwy. Dywed yr Iesu wrth ei ddysgyblion am wneyd yn gyffelyb tuagat y rhai a wrthodent roddi derbyniad iddynt.

### CYFARWYDDIADAU I'R APOSTOLION.

Rhydd iddynt gyfarwyddiadau hefyd yn ngwyneb profedigaethau ac erledigaethau a godai yn eu herbyn trwy fyned allan yn ei enw ef. Llefara eiriau hynod iawn yn y cysylltiad hwn. "Wele," meddai, "yr ydwyf yn eich hanfon fel defaid yn nghanol bleiddiaid," neu, yn ol Luc, "fel ŵyn yn mysg bleiddiaid." Dywed traddodiad i Petr ofyn iddo pan yr oedd efe yn llefaru y geiriau hyn, "Beth os gwna y bleiddiaid larpio yr ŵyn?" "Nac ofned yr ŵyn," meddai, "y bleiddiaid er cael eu llarpio ganddynt; ac nac ofnwch rhag y rhai a laddant y corph, ac ni allont ladd yr enaid: ofnwch yr hwn a ddichon ddistrywio enaid a chorph yn uffern." Gair rhyfedd ydyw hwn, "Eithr ymogelwch rhag dynion." Dynion, fel pe dywedasai, fydd yr offerynau penaf yn llaw y gelyn i godi rhwystrau, ac i ymosod arnoch.

Trwy ddyn gall y diafol fyned i ganol ac i ymyl yr ŵyn mewn croen dafad. Addawa iddynt erledigaeth gan lywiawdwyr a brenhinoedd o achos ei enw ef. Geilw arnynt i arfer callineb y seirph a diniweidrwydd y colomenod. Y mae y naill heb y llall yn niweidiol a pheryglus. Y mae cyfuniad o'r ddau yn fantais werthfawr i fyned trwy amgylchiadau peryglus. Er mwyn eu tawelu i wynebu awdurdodau gwladol, dywed am iddynt beidio blino eu hunain â gorbryder, pa beth a ddywedent pan y gelwid hwy o flaen yr awdurdodau; "canys rhoddir i chwi yn yr awr hono pa beth a lefaroch;" mi a ofynaf i fy Nhad anfon ei Ysbryd i'ch dysgu pa beth a lefaroch gerbron dynion. Er eu cysur, dywed mai ei achos ef oedd yr achos, ac mai er mwyn ei enw ef yr oeddynt i ddioddef, er mwyn pa achos y dioddefodd ef ei hun. "Digon i'r dysgybl fod fel ei athraw, a'r gwas fel ei Arglwydd." Ac er mwyn eu calonogi a'u cysuro dymuna arnynt gredu ac ymdrechu i sylweddoli gofal eu Tad nefol am danynt: y mae efe yn gofalu am adar y to. Gellir cael dau aderyn y to am ffyrling yn y farchnad; y mae eich Tad chwi yn gofalu am un aderyn y to, yr hwn a ystyrir yn llai ei werth na'r *coin* lleiaf. Y mae ei ofal yn llawer mwy am danoch chwi. Gair hynod o'i eiddo ydyw hwn, "ac mae, ïe, hollt wallt eich pen wedi eu cyfrif." Dyna sydd yma, gofal y Tad am y lleiaf yn profi ei ofal am y mwyaf. Cymhella hwynt i feithrin cariad cryf ato ef, ïe, cryfach nag at neb na dim arall; oherwydd cariad ydyw egwyddor fawr ei grefydd a'i deyrnas ef. Teilynga efe y lle uwchaf yn y galon, ac yn y gweithredoedd, a'r bywyd; ac os oes rhyw wrthddrych arall yn uwch nag efe yn y galon, nid ydym yn deilwng ohono ef. Caru yr Iesu yn fwy na phawb a rydd fodd i'w ddilyn trwy bob rhwystrau.

## Y TORFEYDD YN MYNED ATO I LE ANGHYFANEDD.

Mae yr amgylchiadau y cafodd yr Iachawdwr ei hun yr adeg hon yn peri iddo ef a'i ddysgyblion geisio cilio o'r neilldu, er mwyn cael hamdden am enyd. Ceisiodd yr Iuddewon ei ladd ef am iddo fyned yn erbyn traddodiadau y tadau, drwy wneyd ei hun yn ogystal â Duw. Yr oedd Herod wedi lladd Ioan, ei ragredegydd, a chariodd amgylchiad marwolaeth Ioan i feddwl y Gwaredwr ei farwolaeth ei hun. Tua yr adeg hon hefyd y dychwelodd y deuddeg o'u taith. Gallem dybio i'r Iesu eu cyfarfod yn Capernaum. Ymgasglodd yr apostolion ato, a mynegasant iddo yr holl bethau y rhai a wnaethent. Teimlent yn dda iawn gael mynegi i'w Harglwydd y gwasanaeth a gyflawnasent yn ei enw ef, ac er ei fwyn ef. Dichon iddynt adrodd eu hanes bob yn ddau. Cyhoeddasant gyda sel ei enw trwy y wlad, gan ei bregethu ac iachau yn ei enw ef. Llonodd eu hadroddiad ei ysbryd yn fawr, a phan y gwelai ef eu bod wedi llafurio yn y daith hyd nes myned yn lluddedig, dywedodd, "Deuwch eich hunain i le anghyfanedd o'r neilldu, a gorphwyswch encyd ;" ac efe a'u cymerth i le anghyfanedd, sef i le yn perthynu i Bethsaida, o du y dwyrain i'r Iorddonen, tua y terfyn gogleddol i'r llyn. Dyryswyd hwy yn eu hamcan i gael encyd i orphwyso. Nid oedd obaith gallu dianc o gyrhaedd y bobl i'r hwn oedd yn gallu cyfarfod â'u holl anghenion. Gwyliasant symudiadau a chyfeiriad y llong yr oedd ef a'i ddysgyblion ynddi ; ac er bod y pellder yn hwy ar hyd y tir na thros y mor, llanwent y wlad ar y lan arall erbyn iddynt gyrhaedd yno. Yr oedd llawer ohonynt wedi cerdded o bell o'r dinasoedd a'r gwledydd cylchynol i weled a chlywed yr Iesu yn llefaru, a derbyn iachad ganddo. Wrth edrych ar y tyrfaoedd, a gweled eu tywyllwch a'u hamrywiol anghenion, a gweled eu gwynebau ato ef am

waredigaeth, efe a dosturiodd wrth y torfeydd. Llefarodd wrthynt am deyrnas Dduw, a iachaodd eu cleifion. Yr oedd gair o'i enau neu gyffyrddiad âg ef yn iachau pawb elai ato, neu heibio iddo. "Tosturiol iawn yw yr Arglwydd a thrugarog;" a llawn ydyw o hyd o ras a thrugaredd. Porthodd hwynt â bara y gwirionedd, ac nid oeddynt yn blino arno; arhosasant yno i wrando hyd nes ydoedd y dydd yn tynu tua'r terfyn. Dywedodd y dysgyblion wrtho, "Gollwng y dyrfa ymaith, fel y prynont fwyd." Y mae yn sicr fod ar y bobl eisieu bwyd erbyn hyn, ac nid oes yn y lle anghyfanedd hwn fwyd iddynt. Dywedodd, "Rhoddwch chwi beth iddynt i'w fwyta: nid rhaid iddynt fyned ymaith." Nid oedd ganddynt ond pum' torth a dau bysgodyn. Edrychai hyn yn rhy ychydig yn ngolwg y dysgyblion i ddechreu arno. Nid ystyrient mai Bara y Bywyd oedd yn gorchymyn rhoddi peth iddynt i'w fwyta. Yr oedd yno brinder: pum' torth a dau bysgodyn ar gyfer dros bum' mil; ond nid ydyw prinder yn parhau yn hir yn ymyl yr Iesu.

PORTHI Y MILOEDD.

Gorchymynodd eu trefnu i eistedd yn finteiodd a minteiodd, o fesur canoedd, ac o fesur deg a deugeiniau. Yma rhoddodd dair gwers ymarferol a buddiol iawn. Dysgodd i ni drefnusrwydd, a dysgodd i ni gydnabod yr Arglwydd yn y mwyhad o'i ddaioni beunyddiol, a dysgodd i ni gynildeb. Y mae y gwersi hyn yn werthfawr yn amgylchiadau cyffredin bywyd. Wedi cymeryd y pum' torth a'r ddau bysgodyn, efe a edrychodd i fyny tua'r nef, ac a fendithiodd, ac a dorodd, ac a roddes y torthau i'r dysgyblion, a'r dysgyblion i'r torfeydd. A hwynt oll a fwytasant, ac a gawsant eu digon. "Cesglwch y briwfwyd gweddill," meddai, "fel na choller dim." Cawsant ddeuddeg basgedaid yn llawn, wedi digoni dros bum' mil: mwy yn y diwedd nag yn y

dechreu ; ond nid oedd dim i fyned ar goll wedi digoni pawb. Parodd y wyrth hon rhyw gymaint o effaith ar y bobl. Sisialent wrth eu gilydd, "Hwn yn ddiau yw y prophwyd oedd ar ddyfod i'r byd." Ond daearol iawn eu syniadau oeddynt am dano. Gwelodd eu bod ar fedr dyfod a'i gipio yn frenin. Tybient y gallai efe eu gwaredu o afaelion Rhufain, ac na fuasai arnynt angen am ddim oll ond iddynt ei gael ef yn frenin arnynt. Gwrthodai ein Gwaredwr anrhydedd daearol; ac wedi gollwng y dyrfa mewn rhan ymaith, ac anfon ei ddysgyblion i long i groesi y mor, ciliodd i'r mynydd ei hunan yn unig i weddïo. Yr oedd ei amser yn agoshau, a theimlai dan bwysau cyfrifoldeb ei waith mai da ydoedd iddo gael cymdeithas â'i Dad, gan fwrw ei holl ofal arno ef. Treuliodd y nos hon yn nghymdeithas ei Dad, hyd oddeutu tri o'r gloch yn y boreu. Cyfarfyddodd y dysgyblion drachefn â thymhestl ar y mor pan nad oedd yr Iesu gyda hwynt: yr oedd ef yn y mynydd ei hunan yn gweddïo.

# PENOD VIII.

*Tymhestl drachefn yn cyfarfod y dysgyblion ar y môr—Yr Iesu yn gadael gweddïo i waredu ei bobl o'r dymhestl—Y bobl yn myned ar ei ol er mwyn y bara—Yn dysgu am dano ei hun fel bara Duw a bara y bywyd—Llawer o'i ddysgyblion yn troi yn eu hol—Y dysgyblion yn glynu wrtho—Un o'r deuddeg yn ddiafol.*

## YN GOFALU AM EI BOBL YN Y DYMHESTL.

YR oedd y llong yn drallodus gan dònau. Rhoddodd Iesu ddatguddiad newydd iddynt o'i gymhwysder a'i barodrwydd i ofalu am danynt yn y tònau, ac yn y tymhestloedd. Gadawodd unigrwydd y mynydd a'i hyfrydwch yn nghymdeithas ei Dad, ac ymddangosodd yn nghanol y tònau i dawelu a gwaredu ei ddysgyblion. Dywedodd wrthynt, "Myfi yw." Y mae efe yn cysuro ei bobl yn y tònau. Meddai, "Cymerwch gysur, myfi yw; nac ofnwch." Pan yr aeth efe i mewn i'r llong peidiodd y gwynt. Tybiodd Petr y gallai fyned at yr Iesu i ganol y tònau, ond suddo yr oedd efe wrth edrych ar y tònau a cholli ei olwg ar yr Iesu. Pan y dechreuodd ef godi ei olwg arno ef, a galw arno, gan ddywedyd, "Arglwydd, cadw fi," gwaredodd ef. Suddo yn y tònau a wnawn ninau heb gadw ein golwg ar ein Ceidwad; ond os cadwn ni ein golwg arno ef ar dònau y cefnfor, ni raid i ni ofni suddo yn y tònau.

## CRIST YN FARA DUW.

"Canys bara Duw ydyw yr hwn sydd yn dyfod i waered o'r nef, ac yn rhoddi bywyd i'r byd."—IOAN vi. 33.

Clywn weithiau rhyw ddosbarth o bobl yn cael eu galw yn ddysgyblion y torthau. Dichon mai yr hyn a ddywedodd yr Iesu am y bobl hyn a fu yn achlysur i roddi yr enw hwn ar ryw ddosbarth o bobl yn y byd. Daeth y bobl hyn ar ei ol dros y môr, ac wedi d'od o hyd iddo gofynasant iddo, "Rabbi, pa bryd y daethost ti yma?" Ymddangosent yn awyddus i'w geisio a'i ganlyn. Dywedodd y gwir yn blaen wrthynt, "Yr ydych chwi," meddai, "yn fy nganlyn i, nid oherwydd i chwi weled y gwyrthiau, eithr oherwydd i chwi fwyta o'r torthau a'ch digoni." Y mae y dosbarth hwn o bobl yn fyw yn y byd o hyd. Ceisiant fod yn grefyddol er mwyn rhyw fantais i'r corph, a gwisgant broffes o grefydd fel cochl parchus i lesoli eu manteision bydol. Gwerthfawr ydyw cynghor a chyfarwyddyd yr Iesu i'r dosbarth hwn. "Llafuriwch," meddai, "nid am y bwyd a dderfydd, ond am y bwyd a bery i fywyd tragywyddol, yr hwn a ddyry Mab y dyn i chwi." "Pa beth wnawn ni, gofynent, fel y gweithredom weithredoedd Duw?" Pa fodd y mae i ni gyflawni gweithredoedd i foddloni Duw ac i lwyddo ei deyrnas yn y byd? Os ydych, meddai, am foddloni fy Nhad, ac esgyn i'w ffafr a'i gymeradwyaeth ef, credwch yn yr hwn a anfonodd efe. Derbyn a pharchu ei anfonedig a'ch cwyd chwi gyda fy Nhad. Pa beth bynag a wnewch, ni ddeuwch i ffafr fy Nhad heb wneyd yn fawr o'i anfonedig ef, ac fe gymer fy Nhad yn angharedig iawn arnoch os anmherchwch ei anfonedig ef. Gofynasant, newydd gael arwydd ac arwyddion, "Pa arwydd yr ydwyt ti yn ei wneuthur, fel y gwelom ac y credom i ti." Dangosai y cais hwn eu hafiechyd moesol a chrefyddol—ceisio arwydd. "Efe a roddodd iddynt fara o'r nef i'w fwyta," meddent. Mae fy Nhad, meddai, yn rhoddi i chwi y gwir fara o'r nef. "Bara Duw ydyw yr hwn sydd yn dyfod i waered o'r nef, ac yn rhoddi bywyd i'r byd."

"Myfi," meddai, "yw bara y bywyd;" y mae ynof fi fodd i enaid fyw, a pheidio newynu a sychedu. Y mae bara Duw yn fywyd i'r enaid: "Yr hwn sydd yn dyfod ataf fi ni newyna, a'r hwn sydd yn credu ynof fi ni sycheda un amser." Mynega yr Iesu yma am dano ei hun fel y mae efe yn cyfarfod â holl anghenion dyn colledig. Y mae y gwirionedd a fynega yma yn teilyngu ein sylw manylaf. Marw wnawn ni, beth bynag a dderbyniwn, heb dderbyn bara Duw ac ymborthi arno.

CRIST YN FARA Y BYWYD.

Mae efe yn sefyll yn ddiysgog ar y gwirionedd mawr hwn, er murmur a grwgnachrwydd yr Iuddewon. "Ein tadau," meddent, "a fwytasant y mana yn yr anialwch." "Eich tadau," meddai, "a fwytasant y mana yn yr anialwch, ac a fuont feirw." Nid oedd y mana yn fywyd i'r enaid. Caiff yr hwn sydd yn bwyta bara Duw fyw yn dragywydd. Rhoddi eglurhad helaethach y mae efe yn ngwyneb murmur a gelyniaeth yr Iuddewon, y rhai a rwgnachasent am iddo ddywedyd "Myfi yw bara y bywyd;" ac am iddo ddywedyd, "O'r nef y disgynais." Er mwyn rhoddi eglurhad helaethach o'r gwirionedd mawr hwn am dano ei hun, dywed, "A'r bara a roddaf fi yw fy ngnawd i, yr hwn a roddaf fi dros fywyd y byd." Dyma beth afresymol, meddent wrth eu gilydd, gan ymryson â'u gilydd o berthynas i'r gwirionedd a fynegai. Pa fodd y gall hwn, gofynent, roddi i ni ei gnawd i'w fwyta? Y mae yr eglurhad a rydd efe yn dysgu mai trwy ei aberth a'i Iawn y mae efe yn fara ac yn fywyd i'r byd. Pa fodd y daeth efe yn fara y bywyd? Trwy ei aberth a thrwy ei Iawn y mae efe yn fywyd tragywyddol i bechaduriaid colledig; a thrwy feddianu a phrofi o'i aberth a'i Iawn, trwy gredu ynddo yn unig y mae i ni fyw, trwy feddianu gwir fywyd. Er mwyn galw ein sylw a'n sicrhau o berthynas i'r gwirionedd

mawr hwn dywed, "Yn wir, yn wir, oni fwytewch gnawd Mab y dyn, ac oni yfwch ei waed ef, nid oes genych fywyd ynoch. Yr hwn sydd yn bwyta fy ngnawd i, ac yn yfed fy ngwaed i, sydd ganddo fywyd tragywyddol; a mi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf. Canys fy ngnawd i sydd fwyd yn wir, a'm gwaed i sydd ddiod yn wir." Yr oedd pobl Israel yn bwyta oen y Pasg pan y gwaredwyd hwynt yn yr Aipht, ac yr oedd ei waed yn eu diogelu. Nid oes modd i ni feddianu bywyd tragywyddol ond trwy aberth ac Iawn Crist, a thrwy ymborthi arno ef trwy ffydd. Pwy sydd yn meddianu bywyd tragywyddol? Yr hwn sydd yn gwneyd defnydd o Grist trwy ffydd. Y mae y bara yn troi yn gynhaliaeth trwy wneyd defnydd ohono trwy ei fwyta. Y mae Iesu Grist yn fywyd tragywyddol i bechaduriaid, ac yn gynhaliaeth iddynt trwy ei ddefnyddio. "Yr hwn sydd yn bwyta fy ngnawd i," medd efe, "ac sydd yn yfed fy ngwaed i, sydd ganddo fywyd tragywyddol." Pwy sydd yn gwneyd defnydd o Grist trwy fwyta ei gnawd ef ac yfed ei waed ef?" "Yr hwn," medd efe, "sydd yn aros ynof fi a minau ynddo yntau." Y mae hwn yn dibynu yn hollol arno ef yn wastadol am fywyd, ac yn rhoddi ei hun i Grist i drigo ynddo trwy ffydd.

### Y WYNTYLL YN EI LAW.

Dywedodd y bobl a edrychai yn allanol ac anianol ar ei deyrnas ac ar bethau crefydd, "Caled yw yr ymadrodd hwn: pwy a ddichon wrando arno?" Ymofynent am ei arwyddion, ond gwrthodent ei eiriau, y rhai ydynt ysbryd a bywyd. "O hyny allan, llawer o'i ddysgyblion a aethant yn eu hol, ac ni rodiasant mwyach gydag ef." Dangosodd fod y wyntyll yn ei law, a dacw lawer yn myned ymaith o flaen y wyntyll, ac yn troi cefn ar y gwir Dduw a'r bywyd tragywyddol. Pan y gadawodd

y lluaws ef gosododd y deuddeg o flaen y wyntyll. Gofynodd iddynt, "A fynwch chwithau hefyd fyned ymaith?" Nid aethant hwy ymaith o flaen y wyntyll, gan eu bod hwy yn credu, a bod ei eiriau iddynt hwy yn eiriau bywyd tragywyddol. Nid oedd ganddynt un man arall i droi eu hwyneb am fywyd. Yr ateb ydyw, "At bwy yr awn ni? genyt ti y mae geiriau bywyd tragywyddol."

Yn yr amgylchiad hwn y dywedodd efe yr hysbysiad rhyfedd a ganlyn, "Oni ddewisais i chwychwi y deuddeg, ac ohonoch y mae un yn ddiafol." Y mae y wyntyll yn ei law yn cael ûs yn mysg y deuddeg. "Yn y gymdeithas buraf yr ochr yma i'r nefoedd," meddai Mathew Henry, "canfyddir cymeriadau hynod o ddrwg; ymddangosant yn rhith angel y goleuni. Yr oedd Judas, un o'r deuddeg, yn bwrw allan gythreuliaid yn enw Crist, ac efe ei hun yn ddiafol. Un o'r deuddeg ydoedd archragrithiwr ac archfradwr oes darostyngiad Crist." Tybia rhai fod yr Iachawdwr tyner a thrugarog trwy hyn yn rhoddi cyfleusdra i Judas i fyned ymaith gyda'r lluaws cyn cyflawni pechodau mwy; ond gwyntyllio y mae efe yr adeg hon, ac nid trugarhau; ac nid anhebyg nad oedd gobeithion daearol Judas yn dechreu gwanhau, a'i fod yn dechreu cynllunio yn ei feddwl pa fodd y gallai wneyd elw arianol o'i gysylltiad â'r Gwaredwr. Ni ddychymygai yr apostolion ereill fod un mor ddrwg yn eu plith, a dywedai yr hysbysiad difrifol wrth bob un ohonynt, "Na fydd uchelfryd, eithr ofna."

# PENOD IX.

---

*Y trydydd Basg, a'r drydedd flwyddyn yn ngweinidogaeth ein Harglwydd—Yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid yn beio ei ddysgyblion am dori cyfraith y traddodiadau, ac yn ffurfio cynghor yn ei erbyn—Yr Iesu yn gwrthwynebu eu ffurfioldeb a'u rhagrith—Yn cilio o gyrhaedd eu cyngor i dueddau Tyrus a Sidon—Gwneyd cais taer gwraig o Ganaan—Yn tramwyo trwy Decapolis—Iachau y cleifion—Porthi pedair mil—Ei wrthwynebwyr yn ceisio arwydd—Yn rhybuddio y dysgyblion rhag surdoes y Phariseaid.*

---

## CALON DDRWG YN HALOGI DYN.

"Y galon sydd fwy ei thwyll na dim, a drwg diobaith ydyw; pwy a'i hedwyn."—JEREMIAH xvii. 9.

GOFYNODD y Phariseaid a'r ysgrifenyddion i'r Iesu, y rhai a ddaethent o Jerusalem wedi clywed am dano, "Paham y mae dy ddysgyblion di yn troseddu traddodiad yr henafiaid, canys nid ydynt yn golchi eu dwylaw pan fwytant fara?" Yr oedd golchi dwylaw cyn bwyta yn rhan fawr o grefydd y rhai a alwai ef yn rhagrithwyr. Un o'r pechodau mwyaf yn ngolwg defodwyr yr oes hono ydoedd bwyta heb olchi dwylaw. Nodweddiad amlwg rhagrith ydyw glanhau y tuallan, a thybied fod glanhad allanol yn ddigonol i lanhau oddimewn. Y mae efe yn cyfarfod y rhagrithwyr hyn trwy eu cyhuddo o droseddu gorchymynion Duw trwy eu traddodiadau. Ychwanegai yr ysgrifenyddion draddodiadau yr henafiaid at orchymynion Duw; a mwy o

drosedd yn eu golwg hwy ydoedd troseddu traddodiad yr henafiaid na gorchymynion Duw, am fod y traddodiadau yn fwy cydnaws â'u rhagrith. Yma rhydd yr Iesu engraipht o'u hufudd-dod i draddodiadau y tadau o flaen gorchymyn Duw. Dywed, "Canys Moses a ddywedodd, Anrhydedda dy dad a'th fam, a'r hwn a felldithio dad neu fam bydded farw y farwolaeth." Golyga anrhydeddu tad neu fam ddyledswyddau o amrywiol fathau y plant tuagat y rhieni; a'r gorchymyn oedd rhoddi i farwolaeth yr hwn a felldithiai ei dad neu ei fam. Gan hyny, y mae gwneyd drwg i rieni, neu beidio gwneyd dyledswydd tuagatynt, yn gyfystyr â dymuno yn ddrwg iddynt, neu eu melldithio. Ond daliai yr ysgrifenyddion yn ol eu traddodiadau, os dywedai y mab wrth ei rieni, pa mor hen a thlawd bynag a fyddent, ei fod ef wedi rhoddi i'r drysorfa at wasanaeth y deml yr hyn a allai fforddio tuagat eu cynorthwyo hwy; a thrwy hyny dalient ei fod wedi ymryddhau oddiwrth unrhyw rwymedigaeth tuagat ei rieni. Pe buasai y tad neu fam mewn gwir angen i fyned at eu mab i ofyn cynorthwy, yr hwn oedd yn abl i roddi cynorthwy i'w dad neu i'w fam, yn ol fel y dysgid hwy ganddynt hwy, dywedai y mab wrth ei dad neu wrth ei fam, "Yr ydwyf fi wedi rhoddi i Dduw trwy lŵ yr hyn a allaswn roddi i chwi. Fe gymer Duw ofal ohonoch chwi a minau." "Ac nid ydych," medd yr Iesu, "mwyach yn gadael iddo wneuthur dim i'w dad neu fam." Ni oddefai eu traddodiadau a'u rhagrith hwy iddo roddi dim i'w rieni wedi iddo ddyweyd Corban, neu rodd i Dduw.

Nid oes dim y dengys ein Harglwydd fwy o wrthwynebiad iddo na rhagrith. "Da y prophwydodd Esaias am danoch chwi, ragrithwyr," meddai wrthynt; "y mae y bobl hyn yn fy anrhydeddu â'u gwefusau, ond eu calon sydd bell oddiwrthyf; o'r galon y mae pob drwg yn dyfod." Dywed wrthynt yma nad ydyw golchi y dwy-

law yn glanhau y galon a'r fuchedd, ac nad ydyw peidio golchi y dwylaw mewn ystyr ddefodol, yn ol eu traddodiad hwy, yn halogi y galon a'r fuchedd. Geiriau a gweithredoedd drwg, y rhai sydd yn tarddu o galon ddrwg, sydd yn halogi dyn. Galwodd yr Iesu y dyrfa ato i wrando mynegiad o'r gwirionedd mawr hwn. Dywed mai nid yr hyn sydd yn myned i'r genau sydd yn halogi dyn, ond yr hyn sydd yn d'od allan o'r galon.

### YN MYNEGU GWIRIONEDD SYLFAENOL.

Yr oedd mynegiad cyhoeddus ac eglur o un o wirioneddau sylfaenol ei deyrnas yn taro pawb â newydd-deb a syndod, am ei fod yn hollol wrthwynebol i syniadau y Rabbiniaid a'r sect fanylaf, ac yr oedd yn erbyn barn y cyhoedd (*public opinion*). Tarawyd y dysgyblion wrth glywed eu Harglwydd yn athrawiaethu mor gryf a gwrthwynebol i farn y lluaws a dysgeidiaeth yr oes. Gofynasant iddo, "A wyddost ti ymrwystro o'r Phariseaid wrth glywed yr ymadrodd hwn?" Ofnent y byddai i'r ymadrodd hwn greu chwildroad ar ddysgeidiaeth fanwl y Phariseaid. Nid oedd y dysgyblion yn rhydd oddiwrth ddylanwad dysgeidiaeth yr oes, barn y cyhoedd, a dysgeidiaeth gyfeiliornus y Rabbiniaid Iuddewig. Ei ateb ef ydyw, "Pob planhigyn yr hwn nis planodd fy Nhad nefol a ddadwreiddir." Mae fy Nhad, pan yn myned i ffurfio cymeriad da yn dechreu oddimewn: y mae fel y wraig yn rhoddi surdoes yn y blawd, a hwnw yn gweithio nes dwyn yr holl flawd o dan ei ddylanwad. Felly y mae fy Nhad, yn ol ei addewid, yn dodi ei gyfreithiau yn y meddwl, ac yn eu hysgrifenu yn y galon. Gadewch iddynt, meddai, tywysogion deillion ydynt i'r deillion, a diwedd eu hanes hwy a'u canlynwyr fydd syrthio yn yr un ffos. Yn ol ei arfer gofynodd Petr iddo, Gad i ni gael eglurhad: eglura i ni y ddameg hon. Gyda mesur o syndod a cherydd gofynodd, "A

ydych chwithau eto heb ddeall?" Y pethau sydd yn d'od allan o'r genau a'r galon sydd yn halogi dyn. Daeth y pechodau lluosog a dinystriol yn y byd allan o'r galon.

YN CILIO O GALILEA.

Erbyn hyn yr oedd yr Iachawdwr wedi bod o flaen y cyhoedd am ddwy flynedd. Yr oedd ei dosturiaethau i bawb a drodd eu gwyneb ato, ei waredigaethau i'r rhai oedd mewn cyfyngder, ei wyrthiau, a'i bregethau, wedi gwneyd enw mawr iddo yn y wlad oamgylch. Enw Iesu o Nazareth ydoedd enw mawr y dydd. Ond deffrodd ei boblogrwydd elyniaeth pawb oedd yn casau daioni ac yn ymdrechu yn erbyn gwir ddaioni. Unodd y gelyn alluoedd gwladol a chrefyddol yn erbyn ei Grist ef. Cynhyrfai Herod gyda'i gydwybod euog trwy ladd Ioan. Tybiai efe, trwy lais cydwybod euog, mai Ioan y torasai ef ei ben, wedi adgyfodi ydoedd efe. Ond penaethiaid crefydd oedd ei elynion chwerwaf. Deallasant fod yr Iesu yn tynu y bobl ar ei ol, ac yn gosod i lawr sylfeini cyfundrefn hollol wrthwynebol i'w ffurfiau hwy. Condemniodd Ioan eu pechodau, ac a'u cymhellodd i edifarhau. Cyhoeddai yr Iesu wirioneddau ei deyrnas mewn geiriau a gweithredoedd, ac wrth wneuthur hyny condemniai ffurfioldeb a rhagrith, ac nis gallai gondemnio ffurfioldeb a rhagrith heb gynhyrfu y Phariseaid, yr offeiriaid, a'r Rabbiniaid yn ei erbyn. Daeth yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid o Jerusalem i Galilea i edrych i mewn i effeithiau ei ddylanwad ar y wlad. Galwyd penaethiaid crefydd yn nghyd o bob cwr o'r wlad i ffurfio cynghor yn ei erbyn, a chynhyrfwyd hwy yn fwy trwy iddo eu condemnio am anufuddhau i orchymyn Duw trwy gadw eu traddodiadau eu hunain. Gwelodd yr Iesu yn y gwrthwynebiadau a'r cynghorau digofus gysgodion ei farwolaeth. Ciliodd gan hyny o Galilea i

dueddau Tyrus a Sidon, er mwyn llonyddwch oddiwrth ddigofaint cynghor o ragrithwyr, i ddysgu a chadarnhau ei ddysgyblion yn egwyddorion ei deyrnas cyn iddo ddioddef a marw. Gosododd sylfeini ei deyrnas trwy ddewis y deuddeg i'w dysgu a'u cymhwyso i fod yn dystion o'i fywyd, ei farwolaeth, ei adgyfodiad, a'i esgyniad i'r nef, ac i ddwyn ei enw gerbron y cenhedloedd. Fel yr oedd ei farwolaeth yn agoshau rhoddai fwy o le i ddysgu a pharotoi ei apostolion i'r gwaith.

GWRAIG O GANAAN YN TAER GEISIO EI DRUGAREDD.

Ceisiodd fod yn guddiedig trwy fyned i dŷ yn ngyffiniau Tyrus a Sidon, eithr ni allai efe fod yn guddiedig. "Yma," meddai Matthew Henry, "y gellir dodi canwyll dan lestr, ond anmhosibl dodi yr haul dan lestr." Os nad oedd efe wedi myned allan o derfynau Israel, yr oedd ef ar eu cyffiniau. Yma y cawn ni engraipht o ffydd un o'r Cenhedloedd yn gwneyd ymdrech deg trwy rwystrau i lwyddo yn ei chais at yr Iesu, a'r rhwystrau hyny yn d'od oddiwrth wrthddrych ffydd. Yr oedd rhwystrau ffydd y claf o'r parlys yn yr amgylchiadau, yr oedd rhwystrau ffydd Bartimeus ddall yn nganlynwyr yr Iesu; ond yma codai y rhwystrau o'r Iesu ei hun. Daeth gwraig o Ganaan ato yn achos ei merch, yr hon oedd yn ddrwg ei hwyl gan gythraul. Groeges oedd y wraig. Golyga hyny mai un o'r Cenhedloedd ydoedd hi; Syropheniciaid o genedl, sef un o hiliogaeth hen frodorion gwlad Canaan, cyn i genedl Israel dd'od i'r wlad, o'r gweddill a adawsant hwy heb eu gorchfygu. Llefodd arno gan ddywedyd, "Trugarha wrthyf, O Arglwydd fab Dafydd; y mae fy merch yn ddrwg ei hwyl gan gythraul." Taenodd ei hachos yn deg o'i flaen yn y tŷ, eithr nid atebodd efe iddi un gair; ac yn hytrach na gwrando ar ei chais efe a aeth allan o'r tŷ, a chyfeiriodd ei wyneb yn ol i wlad Israel. Canlynodd y

wraig ef, gan barhau i lefain arno. Y mae ffydd yn daer am ei neges. "Gollwng hi ymaith," gofynai y dysgyblion, "canys y mae hi yn llefain ar ein hol ni." Golygai y dysgyblion yn ddiau iddo ei gollwng hi ymaith trwy drugarhau wrthi; ond dywed wrthynt, "Ni'm danfonwyd i ond at ddefaid cyfrgolledig tŷ Israel." Y mae cylch fy ngwasanaeth o fewn tiriogaeth Israel. "Ond hi a ddaeth ac a'i haddolodd ef," yn ol Marc, "ac a syrthiodd wrth ei draed ef, gan ddywedyd, Arglwydd, cymhorth fi." Atebodd iddi, "Gad yn gyntaf i'r plant gael ei digoni." Er mor anheilwng, plant y galwai efe hwynt. "Nid da cymeryd bara y plant, a'i daflu i'r cenawon cwn." Gwelodd ei ffydd fantais i ddal gafael ynddo yn y gair a lefarodd. "Gwir, O Arglwydd," meddai, "ac eto y mae y cenawon dan y bwrdd yn bwyta o friwsion y plant; gad i mi gael briwsionyn o drugaredd. Byddai briwsionyn o'th drugaredd, Arglwydd, yn ddigon i waredu fy merch o afaelion Satan." Daliodd ef, medd Luther, yn rhwyd ei air ei hun. Am y gair hwnw, meddai, "Dos ymaith," aeth y cythraul allan o'th ferch. "Ha wraig, mawr yw dy ffydd," meddai, y mae genyt lestr mawr; ond nid oedd yn petruso iddi gael derbyn o'r cyflawnder sydd ynddo ef. "Bydded i ti," meddai, "fel yr wyt yn ewyllysio." A'i merch a iachawyd o'r awr hono allan. Gallasai fod ei deimladau yn archolledig wrth weled ei eiddo ei hun yn ei wrthod, a phenaethiaid crefydd yn ymgynghori yn ei erbyn. Ond yr oedd, gallem feddwl, trydar ffydd un o'r Cenhedloedd yn olew llawenydd i'w deimladau trist a chlwyfus. Yn yr amgylchiad cafodd y dysgyblion wers ar ffydd, a gwelsant y lle a rydd yr Iesu i ffydd pechadur. Y mae yr hanes hefyd yn eu cymhell i fod yn hyf a chalonog i gymhell pechaduriaid ato. Ni welsant ef yn gwrthod neb, a gwelsant ef yn agored i gri daer o gyfyngder. Y mae yr hanes hefyd

yn eu calonogi i wynebu ar y byd dros yr Iesu, oherwydd yn nhueddau Tyrus a Sidon cawsant olwg ar ffydd fawr yn yr Iesu.

Gadawodd dueddau Tyrus a Sidon, ac i ochel myned i gyrhaedd y Phariseaid, y rhai oedd yn cynllunio yn ei erbyn, tramwyodd trwy derfynau gogleddol Palestina, a thrwy ganol gwlad Decapolis. Er cymaint o ddaioni a gyfranodd yn ngwlad Galilea, yr oedd llid, twyll, malais, a rhagrith y Phariseaid wedi cyrhaedd i'r fath safle fel ag i beri i'r cymwynaswr mwyaf a welodd y byd gilio o'r wlad, a thramwyo tuallan i'w therfynau ar hyd ffyrdd estronol. Dywed yr hanes hwn y gall cymydogaeth a gwlad gyrhaedd y fath gyflwr mewn twyll, malais, ffurfioldeb a rhagrith i beri i'r Gwaredwr gefnu ar y wlad. Yn hytrach na myned trwy Galilea tramwyodd ar hyd terfynau gogleddol y wlad, trwy Decapolis. Dywed hanesyddwyr mai cenhedloedd paganaidd yn benaf oedd yn preswylio yn y dinasoedd hyn, y rhai a berthynent yn briodol i genedl Israel, ond na ddarfu iddynt eu meddianu ar ol eu dychweliad o Babilon. Daeth torfeydd lawer o Iuddewon, y rhai oedd yn preswylio yn y dinasoedd hyn, at yr Iesu, a bwriasant wrth ei draed gloffion, deillion, mudion, anafusion, ac ereill. Dangosodd fod ei gyfaddasder a'i barodrwydd i drugarhau yr un. Yn ofer y ceisiodd ef gael llonyddwch trwy esgyn i'r mynydd y pryd hwn. Yr oedd y fath gyfaddasder ynddo i gyfarfod âg angen pawb fel ag i dyru y bobl ato. Dygwyd ato un byddar a mud. Agorodd ei glustiau a datododd rwymau ei dafod, fel y clywodd ac y llefarodd. Dywedai y bobl, "Da y gwnaeth efe bobpeth." Ymddengys fod y bobl yn y parthau hyn, y rhai a ddeuai ato, yn agored i dderbyn argraphiadau. Nid oedd y gelynion yn myned ar ei ol i anghyfaneddle. Gwerthfawr yn ei olwg ydoedd unigrwydd y mynydd: ni dringai y gelynion y mynydd.

### PORTHI Y PEDAIR MIL.

Er nad oedd yn arfer porthi y torfeydd a ddeuai ato, y mae genym hanes iddo dosturio wrth y dyrfa ddwy waith, a hon ydoedd yr ail waith iddo wneyd hyn. Yr oeddynt wedi bod gydag ef dridiau weithian, a'r lle yn anghyfanedd. Wele eiriau sydd yn rhoddi datguddiad gwerthfawr ohono, "Yr ydwyf yn tosturio wrth y dyrfa, canys y maent yn aros gyda mi dridiau weithian, ac nid oes ganddynt ddim i'w fwyta; ac nid ydwyf yn ewyllysio eu gollwng hwynt ymaith ar eu cythlwng rhag eu llewygu ar y ffordd." Yr oedd gyda'r dysgyblion saith dorth ac ychydig bysgod bychain. Ac efe a orchymynodd y torfeydd eistedd ar y ddaear. A chan gymeryd y saith dorth a'r pysgod a diolch, efe a'u torodd ac a'u rhoddodd i'w ddysgyblion, a'r dysgyblion i'r dyrfa. Digonwyd pedair mil a mwy.

### BLWYDDYN Y GWRTHWYNEBIADAU.

**"Efe a aeth i long, ac a ddaeth i barthau Magdala."—MATTH. xv. 39.**

Dywed Marc mai Dalmanutha ydoedd y lle cyntaf y daeth iddo. Yr oedd Dalmanutha a Magdala yn agos at eu gilydd, ar lan y mor, o du y gorllewin, ac ar gyffiniau ochr ddeheuol dyffryn prydferth Genesaret. Nid oedd yr Iesu yn tueddu i droi ei wyneb i Capernaum, lle y bu yn cartrefu am amser, a'r lle y gwnaeth ef gymaint o ddaioni. Yr oedd gelyniaeth a gwrthwynebiad y Phariseaid iddo, fel pobl Nazareth, yn peri iddo gilio ac ymgadw o'r lle y bu ef yn cartrefu ac yn cyfranu daioni ar bob llaw. Nis gallai deimlo yn gartrefol yn mysg pobl ragrithiol, ffals, a dichellddrwg; mwy cydweddol â'i deimladau pur a sanctaidd ydoedd troi yn mysg pechaduriaid unplyg a gonest, a phobl haner paganaidd Decapolis na chyda'r bobl oedd yn proffesu yn uchel a gweithredu yn rhagrithiol, anffyddlawn, a dichellgar. Yn Capernaum yr oedd cynghorle y Pharise-

aid yr adeg hon, gallem farnu. Yr oeddynt yn myned allan hefyd i chwilio am yr Iesu, ac y mae yn ymddangos iddynt ganfod y llong yr oedd yr Iesu ynddi yn d'od i Magdala, ac mor fuan ag y cyrhaeddasant y lan daethant ato i'w demtio. Blwyddyn y gwrthwynebiadau y galwa rhai y flwyddyn hon i'n Harglwydd. Y Phariseaid oedd yn arwain yn yr ymgyrch hwn yn ei erbyn. Yr oedd y Phariseaid a'r Saduceaid, y rhai oeddynt elynion i'w gilydd, yn ymuno i fyned yn ei erbyn ef. Anffyddwyr yr oes a'r genedl oedd y Saduceaid: gwrthodent wirionedd crefydd. Dewisent rai pethau o'i ffurfiau allanol; cydnabyddent awdurdod y gyfraith; llanwent y swydd offeiriadol hyd y gallent; dalient fod yr enaid yn marw gyda'r corph; ac er eu bod yn llenwi swyddau uchel yn yr eglwys, ni chredent yr adgyfodiad, nac mewn bodolaeth angelion ac ysbrydion. Ymunai Herod a'r Herodaniaid yn yr ymgyrch yn erbyn Crist.

RHYBUDDIO Y DYSGYBLION I OCHEL SURDOES Y PHARISEAID.

Gofynodd y gwrthwynebwyr i'r Iesu ddangos iddynt arwydd o'r nef. Yn absenoldeb yr Iesu, er mwyn troi y bobl oddiwrtho ac yn ei erbyn, gwnaethant ymdrech i gamarwain y bobl, y mae yn ymddangos, gyda golwg ar brophwydoliaeth Daniel, yr hon a ddywed, "Megis Mab y dyn oedd yn dyfod gyda chymylau y nefoedd; ac at yr Hen ddihenydd y daeth, a hwy a'i dygasant ger ei fron ef. Ac efe a roddes iddo lywodraeth, a gogoniant, a brenhiniaeth." Yr oedd y temtiad hwn gan y gwrthwynebwyr o'r un natur a'r temtiad yn yr anialwch gan ddiafol. "Dangos i ni dy fod wedi d'od o'r nef." Mewn atebiad dywed, "O, ragrithwyr, chwi a fedrwch ddeall wyneb yr wybren. Pan weloch awyr goch yn yr hwyr, yr ydych yn dyweyd, Tywydd teg; a'r bore, Heddyw, dryghin, canys y mae yr awyr yn goch ac yn

bruddaidd." Ac ni fedrwch ddeall arwyddion cyflawniad y brophwydoliaeth am ddyfodiad Mab y dyn. Er cymaint o arwyddion a rhyfeddodau a ddangosodd iddynt yr oedd y cwbl yn ofer i'r bobl hyn. Ni wrandawodd ar y temtwyr hyn mwy nag ar y temtiwr yn yr anialwch. "Y mae cenhedlaeth ddrwg a godinebus yn ceisio arwydd," meddai, "ac arwydd nis rhoddir iddi, ond arwydd y prophwyd Jonas." Nid ydyw ein Gwaredwr yn arfer cyfarfod â chais pobl sydd yn gweithredu oddiar egwyddorion a dibenion mor ddrwg. Byddai yn mynegi iddynt y gwirionedd yn eu gwynebau; ni fyddai yn gwneyd cyfeillion ohonynt. Dywed yma wrth ei ddysgyblion, "Edrychwch ac ymogelwch rhag surdoes y Phariseaid a'r Saduceaid;" peryglus i chwi ydyw myned dan ddylanwad y bobl hyn. Defnyddia y surdoes i osod allan bechod y bobl hyn, sef rhagrith, dichell, a thwyll. Amcan eu dysgeidiaeth ydyw dwyn ereill i'r un pechod: gweithiant fel y surdoes yn y blawd, nes dwyn ereill sydd dan eu dylanwad i'r un pechod a than lywodraeth yr un egwyddorion. Gyda difrifwch y cynghora ei ddysgyblion i ymgadw i beidio myned dan eu dylanwad. Fel pe dywedasai, Y mae dysgeidiaeth y bobl hyn yn sicr o ddifetha eich dylanwad a'ch defnyddioldeb. Y mae rhagrith, dichell, ffalsder, a thwyll yn anafu dynion i farwolaeth.

Pell ydoedd y dysgyblion o ddeall geiriau eu Harglwydd yn eu rhybuddio rhag myned dan ddylanwad dysgeidiaeth y gwrthwynebwyr hyn. Am eu bod wedi gollwng dros gof gymeryd bara gyda hwy llenwid hwy gan bryder gormodol pa beth a wnaent am fara. Er bod surdoes yn ddarlun eglur o bechod y rhagrithwyr hyn, a'r perygl o fyned dan eu dylanwad, meddienid eu meddyliau mor llwyr gan bryder am fara fel y dywedent, "Hyn sydd am na chymerasom fara genym." "O chwychwi o ychydig ffydd," meddai, a ydyw eich calon

eto genych wedi caledu? a ydych wedi myned i afael angrediniaeth wedi cael y fath amlygiadau? Ai nid ydych yn cofio pum' torth y pum' mil, a'r saith dorth y pedair mil, a pha sawl basgedaid a gymerasant i fyny wedi digoni pawb? Pa fodd yr ydych yn pryderu am fara ar ol y fath amlygiadau? Onid ydych yn deall mai am ddysgeidiaeth a phechod y Phariseaid a'r Saduceaid yr ydwyf yn eich rhybuddio rhag myned dan eu dylanwad niweidiol. Trwy ymdrech y llwyddodd i gael ganddynt ddeall ei eiriau.

# PENOD X.

---

*Yr Iesu yn iachau y dyn dall yn Bethsaida—Yn Cesarea Philippi yn arholi ei ddysgyblion—Petr ac ereill yn pasio yr arholiad—Yn mynegu i'w ddysgyblion yr angenrheidrwydd am ei farwolaeth—Gweddnewidiad Crist ar y mynydd—Yn amddiffyn y dysgyblion, ac yn iachau un dieflig—Yn mynegu drachefn am ei farwolaeth.*

---

## YR IESU YN IACHAU Y DYN DALL YN BETHSAIDA.

"Ond pwy meddwch chwi ydwyf fi? A Simon Petr a atebodd ac a ddywedodd, Ti yw y Crist, Mab y Duw byw."—MATTH. xvi. 15, 16.

DARFU ef a'i ddysgyblion lanio yn Bethsaida, nid i aros ond ychydig. Yma y bu yn trugarhau ac yn pregethu; ond er cymaint a wnaeth efe yn y cymydogaethau hyn, a'i fod yn llefaru fel na lefarodd dyn erioed, ac na chawsant ynddo ddim bai, gwrandawent hwy ar ei wrthwynebwyr, y rhai a ymdrechent i wyrdroi y bobl oddiwrtho. Yr oedd yno ychydig yn credu ynddo, ac yn dymuno manteisio ar ei allu gwyrthiol. Dygasant ato un dall. Ni pheidiodd ddangos ei dosturi at un mewn cyfyngder, oherwydd "trugarog a graslawn yw efe, hwyrfrydig i lid." Tosturi at y dall yn fwy na gwneyd eu cais hwy, y mae yn ymddangos, a barodd iddo drugarhau y pryd hwn. Ni thrugarhaodd wrtho yn y ddinas, yn ngolwg ei wrthodwyr. Ymaflodd yn ei law, ac arweiniodd ef allan o'r ddinas. Rhoddodd ei olwg iddo mewn ffordd fanteisiol i'r dall sylweddoli y cysylltiad oedd rhwng y waredigaeth â'r Iesu ei hun. Wedi iddo boeri ar ei lygaid, a dodi ei ddwylaw arno, gofyn-

odd a oedd efe yn gweled dim? "Yr wyf yn gweled dynion megis prenau yn rhodio," meddai. Gwaredigaeth fawr i ddall oedd gweled felly. Dangosodd iddo ei fod yn gwneyd ei waith trwy foddion, a'i fod yn ei wneyd yn raddol, i godi ei ddisgwyliadau ato ef, ac nad ydyw yn gadael ei waith heb ei berffeithio yn deilwng ohono ei hun. Wedi gosod ei ddwylaw drachefn ar ei lygaid, a gorchymyn iddo edrych i fyny, efe a welai bawb o bell ac yn eglur. Gorchymynodd iddo fyned adref i'w dŷ. Meddai, "Na ddos i'r dref, ac na ddywed wrth neb yn y dref." Nid oedd yn ewyllysio i'w wrthodwyr gael mantais newydd i gynhyrfu yn anamserol yn ei erbyn.

### YN ARHOLI Y DYSGYBLION.

Gadawodd yr Iesu Bethsaida a'r gymydogaeth, a chyfeiriodd tua'r gogledd, i dueddau Cesarea Philippi. Dymunai gael llonyddwch i osod ei ddysgyblion dan arholiad am dano ei hun. Un cwestiwn oedd yn arholiad yr Iesu ar ei apostolion; ond rhaid oedd meddianu y wybodaeth uwchaf i ateb yr un cwestiwn mawr hwn. Dymunai hefyd gael hamdden i wneyd yn eglur iddynt am ei farwolaeth, yr hon oedd yn agoshau. Wedi iddo weddïo, gofynodd iddynt, "Pwy y mae dynion yn dywedyd fy mod i, Mab y dyn?" Y mae yn angenrheidiol i'r bobl feddu meddwl cywir am danaf, fel ag i'm hadnabod; yr ydwyf wedi rhoddi llawer o fanteision iddynt fy adnabod fel y Messiah. Y mae yr ateb a roddodd y dysgyblion yn profi nad oedd dynion wedi adnabod yr Iachawdwr. Dywedasant, "Rhai mai Ioan Fedyddiwr, a rhai mai Elias, ac ereill mai Jeremias, neu un o'r prophwydi." Dywed y brophwydoliaeth mai gwr gofidus oedd efe, cynefin â dolur. Nid anhebyg mai yr adeg hon y cyflawnwyd prophwydoliaeth Esaiah. Dywed, "Yn ofer ac am ddim y treuliais fy nerth, er

hyny y mae fy marn gyda'r Arglwydd a'm cyfiawnder gyda'm Duw ; eto gogoneddus fyddaf fi yn ngolwg yr Arglwydd, a'm Duw fydd fy nerth." "Wele y tair blynedd hyn yr ydwyf yn dyfod gan geisio ffrwyth ar y ffigysbren hwn." Beth ydyw y ffrwyth? Cymerant fi am Ioan Fedyddiwr, am Elias, am Jeremias, neu un o'r prophwydi. Er hyny, y mae rhai yn gallu dyweyd, "A ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megis yr unig-anedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd."

Gofynodd y cwestiwn mawr hwn i'w ddysgyblion, "Ond pwy meddwch chwi ydwyf fi?" Yr oeddynt hwy wedi cael gwell manteision na neb arall. Byddai yn egluro iddynt hwy bethau na ddeallid ganddynt. Yr oedd meddwl cywir am ei Berson ef yn hanfodol iddynt fel sefydlwyr ei deyrnas wedi iddo ef esgyn i'r ddeheulaw ; oherwydd efe ei hun yw y sylfaen, ac efe ei hun ydyw conglfaen y deml ysbrydol. Y mae meddu adnabyddiaeth gywir o'i Berson ef yn ddiogelwch goreu ar yr athrawiaeth, sef gwirioneddau ei deyrnas. Os gallai ei ddysgyblion ateb ei gwestiwn yn gywir a boddhaol, fe roddent fod dlonrwydd mawr iddo, a theimlai ei fod yn gadael gwirioneddau ei deyrnas mewn dwylaw diogel. Dyma wybodaeth nas gallent ei hebgor. Nid oeddynt yn ddim heb wir adnabod Iesu Grist ; ni fuasai graddau uchel gwybodaeth y byd yn gwneyd y tro yn lle " meddwl i adnabod yr hwn sydd gywir, a bod yn y cywir hwnw, sef yn ei Fab ef, Iesu Grist. Hwn yw y gwir Dduw a'r bywyd tragywyddol." Atebodd Simon Petr y cwestiwn er boddlonrwydd a llawenydd yr Iesu. Dywedodd, " Ti yw y Crist, Mab y Duw byw." Atebodd yn wresog, fel un yn profi gwres pelydrau ei ogoniant a'i gariad ynddo ei hun. Ti yw Messiah yr addewidion, y cysgodau, a'r prophwydoliaethau ; a ti ydyw unig-anedig Fab Duw ; ynot ti y mae y bywyd tragywyddol. Pan yr oedd ei lafur a'i nerth wedi ei dreulio yn ofer mewn

cysylltiad â mwyafrif y genedl, wele ateb sydd yn llawenhau ei ysbryd, ac yn cynwys gwirionedd y bywyd tragywyddol. Y mae cyffes Petr yma, yn enw y deuddeg, yn wir werthfawr i sylweddoli gwirionedd ac amcan yr ymgnawdoliad. Mynegai ei eiriau a'i weithredoedd am dano fel Mab y dyn a Mab Duw. Ac ar gyffiniau y byd cenhedlig, pan yr oedd efe megis ffoadur o gyrhaedd ei wrthwynebwyr, rhoddodd un o bysgotwyr mor Galilea, yn enw y deuddeg, dystiolaeth i'r gwirionedd am dano, yr hon oedd yn ol y datguddiad a roddodd ohono ei hun.

PETR AC EREILL YN PASIO YR ARHOLIAD.

Dywedodd yr Iesu, "Gwyn dy fyd di, Simon mab Jonah, canys nid cig a gwaed a ddatguddiodd hyn i ti, ond fy Nhad, yr hwn sydd yn y nefoedd;" yr wyt ti wedi derbyn y wybodaeth yna trwy ddatguddiad, a'r datguddiad hwnw wedi d'od o'r lle uwchaf. Dyma wybodaeth nas gellir ei meddianu trwy alluoedd daearol na thrwy ddim ond trwy ddatguddiad y Tad, trwy yr Ysbryd Glân. Er ei fod yn wael ei wedd, ac yn dlawd ei amgylchiadau—heb le i roddi ei ben i lawr—ac yn wrthodedig gan benaethiaid y bobl, trwy ddatguddiad y Tad, gwelodd Simon Petr a'r apostolion ereill ynddo Iachawdwr pechaduriaid, ac unig-anedig Fab Duw. Gwelsant ynddo yr hwn oedd i gael ei ddyrchafu i'r ddeheulaw, a phob awdurdod yn ei law yn y nef ac ar y ddaear, a'r hwn oedd i gael ei bregethu i'r holl genhedloedd.

ADEILADU EI EGLWYS.

"Ac yr ydwyf finau yn dywedyd i ti," meddai wrtho, "mai ti yw Petr, ac ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys, a phyrth uffern nis gorchfygant hi." Gwelodd yn Petr a'r apostolion ddefnyddiau i wneyd eglwys iddo ei hun. Pobl sydd wedi ei adnabod a ddefnyddia efe i

adeiladu ei eglwys. Cof genyf glywed y diweddar Barch. Joseph Thomas, yn ei gystudd, yn ateb brawd, yr hwn fel finau oedd yn ymweled âg ef. Gofynodd y brawd yn sydyn iddo—ac yr oedd yn ymylu ar anoethineb i'w ofyn i glaf—"A ydych chwi yn barod i ddyweyd fel Simeon? Yr ydych wedi pregethu Iesu Grist yn dda iawn: mi clywais i chwi yn ei bregethu yn dda lawer gwaith." "Wel," meddai, gyda thônyddiaeth sanctaidd, "ddim yn ddigon da wedi ei 'nabod ef." Meddyliais lawer am ei air ar ol hyny. Credaf mai y bobl sydd wedi adnabod Iesu Grist sydd yn gallu dyweyd yn dda am dano; a methant foddloni eu hunain am na fedrant ei bregethu yn well. "Ac ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys, a phyrth uffern nis gorchfygant hi," meddai. Ti yw Petr, careg, neu graig. Simon mab Jonah ydoedd ei enw pan y cafodd yr Iesu ef. Rhoddodd iddo enw newydd. Golyga yr enw newydd y cyfnewidiad a wnaeth yr Iesu arno, a'r hyn a fwriadai ei wneyd arno a thrwyddo. Fel yr oedd ef yn Simon, ansefydlog ac ofnog ydoedd ef. Daeth hyn i'r golwg pan y gwadodd ef ei Arglwydd yn y llys, o flaen morwynig fechan; ond dywedodd yr Iesu wrtho, Ti yw Petr, gwnaf di yn faen bywiol yn fy nheml, a gwnaf ddefnydd ohonot i adeiladu fy nheml. Gwnaeth ddefnydd mawr o Petr i adeiladu ei eglwys ar ddydd y Pentecost, pan yr achubwyd dros dair mil o wahanol barthau y wlad. Wedi ei eneinio â'r Ysbryd Glân a'i wisgo â nerth o'r uchelder, safodd fel y graig i argyhoeddi yr Iuddewon o'u pechod mawr o groeshoelio Arglwydd y gogoniant. "Hwn," meddai, "wedi ei roddi trwy derfynedig gynghor a rhagwybodaeth Duw a gymerasoch chwi, a thrwy ddwylaw anwir a groeshoeliasoch ac a laddasoch, yr hwn a gyfododd Duw, gan ryddhau gofidiau angau, canys nid oedd yn bosibl ei atal ef ganddo; a chwanegwyd atynt y dwthwn hwnw yn nghylch tair mil." Gorchymynodd yr angel i

Cornelius, un o'r Cenhedloedd, anfon tri o wyr at Petr i'w gyrchu yno i bregethu iddynt hwy, y Cenhedloedd. Anfonodd Cornelius dri o wyr i gyrchu Petr yno i bregethu ; a chyn iddynt gyrhaedd Joppa yr oedd Petr wedi derbyn datguddiad trwy weledigaeth ryfedd. Gwelodd len-llian yn cynwys amrywiaeth o greaduriaid y ddaear, a gorchymynwyd iddo beidio ystyried dim yn aflan ag yr oedd Duw wedi eu glanhau. Fe aeth Petr gyda'r cenhadon i dŷ Cornelius i bregethu am y waith gyntaf i'r Cenhedloedd. Yr oedd Petr yn sylfaenydd Cristionogaeth, ond nid oedd ei ddefnyddioldeb i aros mwy na'r apostolion ereill, neu rhyw ddyn da arall.

Mae Eglwys Rhufain wedi rhoddi anmharch mawr ar Petr trwy roddi gormod o le iddo, a lle parhaol iddo i adeiladu yr eglwys. Anmharch ar ddyn ydyw ei osod mewn lle nas gall ei lanw. Pe buasai Petr wedi derbyn uwchafiaeth ar yr apostolion ereill mewn awdurdod, ni fuasai y cwestiwn pwy fyddai fwyaf yn codi yn mhlith yr apostolion. Uwchafiaeth mewn defnyddioldeb ydyw y dyrchafiad mwyaf i ddyn. Yr oedd cael ychydig fel hyn i'w adnabod yn rhoddi boddhad ac adnewyddiad i'n Iachawdwr yn ei ofidiau yn y byd ; a hyfryd iddo ydoedd gweled nad oedd ei lafur yn ofer. Dywed wrthynt am gadw iddynt eu hunain mai efe oedd Iesu Grist.

### YN MYNEGU AM EI FARWOLAETH.

Wele y dysgyblion wedi ateb cwestiwn bywyd tragywyddol i foddlonrwydd yr Iesu. Y mae ef yn teimlo yn fwy cartrefol a dedwydd gyda phobl wedi ei adnabod. Rhaid oedd iddo fynegu iddynt bellach am ei farwolaeth —amgylchiad mawr ei oes, ac amcan ei ddyfodiad i'r byd. Rhoddodd yn awr wers newydd iddynt. "O hyny allan y dechreuodd yr Iesu ddangos i'w ddysgyblion fod yn rhaid iddo fyned i Jerusalem, a dioddef llawer gan yr henuriaid a'r archoffeiriaid a'r ysgrifenyddion, a'i ladd,

a chyfodi y trydydd dydd." Pan y cawsant ddatguddiad ohono fel eu hunig Geidwad gan y Tad, y mae yntau ei hun yn rhoddi datguddiad o waith mawr ei oes. Dywedodd fod yn rhaid iddo fyned i Jerusalem i farw. Gyda golwg ddaearol yr edrychai yr apostolion ar ei deyrnas. Dacw Petr, newydd ateb mor foddhaol am ei Berson, yn dechreu ei geryddu, gan ddywedyd, "Trugarha wrthyt dy hun: nis bydd hyn i ti." Yr wyf fi, fel pe dywedasai, wedi adnabod nerth dy fraich; ni raid i ti ofni; yr ydwyt yn gryfach na'r oll gyda'u gilydd. Ni fydd ychwaith yn gweddu i dy urddas brenhinol i ti farw ar y groes. Newydd brofi y fath foddhad yn ei gyffes, a chyhoeddi gwyn fyd uwch ei ben, gelwir arno i'w geryddu a'i alw yn Satan. Meddai, "Dos yn fy ol i, Satan; rhwystr ydwyt i mi, am nad ydwyt yn synied y pethau sydd o Dduw, ond y pethau sydd o ddynion;" yr ydwyt yn gwisgo y cymeriad gwaethaf wrth geisio sefyll yn erbyn i mi fyned i'r groes. Yr ydwyf fi yn ewyllysio yfed y cwpan a roddes y Tad i mi; yr ydwyt ti yn sefyll ar fy ffordd adref i dŷ fy Nhad, ac i'r ddeheulaw. Saf o'r tu ol i mi: "Dos yn fy ol i, Satan." Ac mi ddywedaf ychwaneg wrthyt, Petr, nid yn unig y mae yn rhaid i mi ddioddef, y mae yn rhaid i'm canlynwyr hefyd ddioddef. Y mae yn ymddangos fod y dysgyblion yn disgwyl hawddfyd ac anrhydedd y byd trwy eu cysylltiad âg ef. Yr oedd eu syniad am dano fel brenin daearol yn fyw yn eu meddwl wedi adnabod ei Berson. Nid oeddynt yn disgwyl croesau a dioddefiadau yn ei achos ef, gan eu bod yn credu yn ei allu dwyfol i'w hamddiffyn. Dywed efe, "Os myn neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded âg ef ei hun, a chyfoded ei groes, a chanlyned fi." Nid ydyw yma yn addaw llwybr esmwyth i'w ganlynwyr.

Dywed fod y bobl sydd yn caru esmwythder mewn perygl o golli eu bywyd, a'r rhai sydd yn rhoddi eu

hunain iddo ef, ac yn ei ganlyn trwy bob rhwystrau, yn cadw eu bywyd. "Canys pwy bynag a ewyllysio gadw ei fywyd a'i cyll, a phwy bynag a gollo ei fywyd o'm plegid i a'i caiff;" a pha beth bynag a enilla y dyn, a phe byddai iddo enill yr holl fyd, ni byddai hyny yn ddigon i gadw enaid; a phe byddai iddo enill yr holl fyd a cholli ei enaid ei hun wrth enill y byd, byddai y golled yn fwy na'r enill. Y mae y cwestiwn mawr o gadw neu golli enaid yma. Os enill y byd ydyw ymdrech y dyn, fe gyll yr enaid; os enill Crist ydyw ymdrech y dyn, fe geidw ei enaid. Dywed, "Canys pwy bynag fyddo cywilydd ganddo fi a'm geiriau, hwnw fydd gywilydd gan Fab y dyn pan ddelo yn ei ogoniant ei hun, a'r Tad a'r angelion sanctaidd."

### AR FYNYDD Y GWEDDNEWIDIAD.

"Ac fel yr oedd efe yn gweddïo, gwedd ei wynebpryd ef a newidiwyd, a'i wisg oedd yn wen ddisglaer."—LUC ix. 29.

Ar ol chwe' diwrnod, neu ynghylch wyth diwrnod yn ol Luc, trwy gynwys y cyntaf a'r olaf, wedi gwneyd yn hysbys i'w ddysgyblion ei farwolaeth a gwaradwydd y groes fel y ffordd yr oedd yn rhaid iddo esgyn i ogoniant a dyrchafiad. Er eu bod wedi ei adnabod fel y Messiah addawedig, nid oeddynt yn hollol rydd oddiwrth syniad y genedl am ei waith a'i deyrnas. Da oedd iddynt gael cyfleusdra a mantais newydd i feithrin meddyliau ysbrydol am dano ef a'i deyrnas yn y byd, a thrwy hyny eu rhyddhau yn llwyrach oddiwrth draddodiadau Iuddewig. Yr oedd ein Gwaredwr ei hun hefyd o ran ei natur ddynol, yr hon oedd yn cynwys tynerwch a gwendidau dibechod y ddynoliaeth, a phan oedd ei wyneb yn cyfeirio, ac yn ymyl gwaith mawr ei oes, mewn agwedd a sefyllfa y buasai calondid a chefnogaeth yn werthfawr ganddo. Ni fynegir i ni ei hanes ef a'i ddysgyblion rhwng yr adeg yr oedd ef yn Cesarea

Philippi a'i weddnewidiad ar y mynydd. Nid oes genym hanes am danynt yn y cyhoedd yr adeg hon. Dichon iddynt dreulio y dyddiau yma mewn myfyrdod a gweddi, gan y teimlai y dysgyblion yn ddiau yn gymysglyd eu meddyliau a'u teimladau pan yr oedd eu gobeithion bydol wedi tywyllu, a phan yn gweled ychydig o ogoniant y deyrnas ysbrydol ; ac wrth edrych yn mlaen, yn ol dysgeidiaeth newydd yr Athraw, nid oedd ond llwybr garw yn y golwg. Adnewyddiad, debygem, i'n Gwaredwr yr adeg hon ydoedd cael hamdden i weddïo, ac i ddal cymundeb â'i Dad. Nid oedd ganddo dŷ iddo ei hun i wneyd ystafell ddirgel, a myned i mewn iddi, a chau y drws, yn ol ei gyfarwyddyd i ni.

Gwnai yr Iesu unigrwydd y mynydd yn ystafell ddirgel i weddïo ar ei Dad. Pan y byddai yn llafurio y dydd hyd nes profi blinder, yn lle gorphwyso ymneillduai ef oddiwrth y torfeydd a'i ddysgyblion i unigrwydd y mynydd, i gymundeb â'i Dad, trwy y nos. O flaen gwaith pwysig gweddïai ar hyd y nos cyn hyny. Pe buasem yn ddigon beiddgar i ddyfalu beth oedd natur ei weddïau yr adeg bwysig hon yn ei hanes, buasem yn dyweyd mai gofyn i'w Dad yr oedd efe i gadarnhau yn meddyliau a chalonau y dysgyblion y gwirionedd a fynegodd iddynt am dano ei hun, a'i waith mawr yn y byd, a'u dyfodol hwythau fel ei ganlynwyr a'i apostolion ; a gweddïai, debygem, am adgyfnerthiad ac adnewyddiad iddo ei hun i'w gynal rhag llwfrhau hyd nes gorphen ei waith.

Atebodd ei Dad ei weddïau yn ei weddnewidiad ar y mynydd. Pa fynydd oedd hwn nis gellir bod yn sicr. Y farn gyntefig oedd mai mynydd Tabor oedd y mynydd, ond y farn ddiweddaraf ydyw mai mynydd Hermon ydoedd y mynydd hwn. Pa fynydd bynag ydoedd, geilw Petr ef y mynydd sanctaidd, oherwydd yr hyn a gymerodd le adeg gweddnewidiad ein Iachawdwr. Ar

ol chwe' diwrnod cymerodd yr Iesu Petr, Iago, ac Ioan, ac a'u dug hwy i fynydd uchel o'r neilldu; "ac fel yr oedd efe yn gweddïo, gwedd ei wynebpryd ef a newidiwyd, a'i wisg oedd yn wen ddisglaer." Defnyddia yr efengylwyr eu doniau naturiol i roddi desgrifiad o'i ogoniant. Dywed Matthew, "A'i wyneb a ddisgleiriodd fel yr haul, a'i ddillad oedd cyn wyned a'r goleuni." Dywed Marc, "A'i ddillad ef a aethant yn ddisglaer, yn gànnaid iawn fel eira; y fath ni fedr un panwr ar y ddaear eu cànnu." Pe buasai rhoddi desgrifiad o ogoniant ei wisg yn gystadleuol yn ol yr oes gystadleuol hon, y mae yn bur debyg mai Marc fuasai y blaenaf yn y gystadleuaeth y tro hwn.

Yr oedd ef wedi ei wisgo â phrydferthwch a gogoniant anghymarol: ni fedd y ddaear ogoniant cyffelyb i hwn. Tarddai y gogoniant o'i Berson pan yr oedd efe yn gweddïo, trwy ei gymundeb â'i Dad. Mewn atebiad i'w weddïau, y mae y Tad yma yn ei ogoneddu, neu yn datguddio ei ogoniant. Yr oedd y gogoniant hwn yn ernes ac yn rhan o'r gogoniant oedd iddo fel Cyfryngwr wedi gorphen ei waith ar y ddaear. Mewn cymundeb â Duw y gogoneddwyd yr Iesu ar y mynydd, ac mewn cymundeb â Duw y mae i ninau gael ein newid i'r unrhyw ddelw. Nid oedd efe yn llwyddo heb ymdrechu mewn gweddi; nis gallwn ninau lwyddo heb ymdrech barhaus mewn gweddi. Y mae efe wedi llwyddo trwy ymdrechu gyda Duw mewn gweddi; y mae ffordd, gan hyny, a gobaith i ninau lwyddo trwy ymdrechu mewn gweddi.

"Ac wele ddau wr a gydymddiddanodd âg ef, y rhai oedd Moses ac Elias, y rhai a ymddangosasant mewn gogoniant." Anfonwyd o'r nef i'r cyfarfod rhyfedd hwn ddau o gynrychiolwyr cymhwys i dystiolaethu am dano, ac i roddi cymeradwyaeth iddo yn ei waith. Cynrychiolai Moses y gyfraith, oherwydd gwr mawr y

gyfraith ydoedd ef. Derbyniodd ef y gyfraith gan Dduw ar y mynydd ; astudiodd a deallodd y gyfraith yn well na neb o ddynion y ddaear a'r nef, wedi cael goleuni y nef arni. Cynrychiolai Elias y prophwydi a'r prophwydoliaethau a'r addewidion. Safai y ddau dros dystiolaeth yr Hen Destament, a saint yr Hen Destament, am Grist. Pan yr oedd y dystiolaeth am Grist wedi ei chymysgu a'i gwyrdroi gan draddodiadau dynion anianol, onid hyfryd a dymunol i'r Iachawdwr, a bendithiol i'r dysgyblion, ydoedd clywed y dystiolaeth am dano yn ei phurdeb gan Moses ac Elias? Gwyr ydoedd y rhai hyn a safasant yn gadarn dros y dystiolaeth ar y ddaear, ac oeddynt wedi eu cadarnhau ynddi yn ngoleuni pur y nef.

"A gydymddiddanodd âg ef," meddai Luc. Yma cafodd ein Gwaredwr ymddiddan â dau oedd mewn perffaith gydymdeimlad a chyd-ddealltwriaeth âg ef yn ngwaith mawr ei oes, yr hyn yn ddiau a lawenhai ei ysbryd trallodus wrth edrych ar ei eiddo ei hun yn ei wrthod. "Y rhai a ddywedasant am ei ymadawiad neu ei farwolaeth, yr hwn a gyflawnai efe yn Jerusalem." Y mater y safai Moses ac Elias arno yn benaf oedd ei farwolaeth.

Mor wahanol ydoedd y nefoedd i'r ddaear gyda golwg ar ei farwolaeth. "Trugarha wrthyt dy hun," meddai Petr, "nis bydd hyn i ti." Ceisiai yr henuriaid a'r archoffeiriaid ei waradwyddo a rhoddi terfyn ar ei ddylanwad trwy ei ladd ; ond edrychai Moses ac Elias arno megis Oen a laddwyd er dechreuad y byd. Oen a laddwyd oedd efe yn mwriadau Duw ; Oen a laddwyd hefyd oedd efe yn yr aberthau a'r cysgodau. Ynddo ef y derbyniai yr aberthau rinwedd ; efe oedd sylwedd y cysgodau a'r prophwydoliaethau ; ac efe trwy ei farwolaeth ydoedd ie ac amen yr addewidion. Dos yn mlaen, Arglwydd, fel pe dywedasai Moses, i gwblhau dy waith ; yr ydwyt

bob cam yn mawrhau y gyfraith a'i gwneyd hi yn anrhydeddus. Y mae y gyfraith hyd yma wedi derbyn ufudd-dod perffaith genyt. Dos yn mlaen, Arglwydd, fel pe dywedasai Elias, i gwblhau yr addewidion a'r prophwydoliaethau; yr ydwyt hyd yma yn eu cyflawni yn anrhydeddus. Os ydwyt yn wrthodedig gan ddynion, yr ydwyt yn etholedig gan Dduw a gwerthfawr; y mae yr holl nefoedd yn dy fawrhau a'th addoli; yr ydym ni acw yn gwylio dy holl gamrau. Os ydyw y ddaear yn myned i dy wisgo â choron o ddrain, y mae acw goron gogoniant yn dy aros ac yn disgwyl am danat. Y mae ein dedwyddwch ni a gogoniant y nef yn dibynu ar i ti fyned i Jerusalem i farw; y mae ein anrhydedd ni yn codi o dy waradwydd di, ac o dy ddioddefiadau y daw ein hiachawdwriaeth; a'n holl ddymuniad yw i ti farw drosom; dy groes di a rydd fodd i ni gael coron. Ni fu acw erioed y fath barotoi i roddi derbyniad i ti adref wedi gorphen dy waith. Yn y cydymddiddan debygid ei fod yn cymeradwyo eu tystiolaeth, er ei fod yn gwybod yn dda yr hyn oll a dystiolaethent; eto nis gallwn lai na chredu nad oedd tystiolaeth y ddau genhadwr nefol am ei farwolaeth yn llawenhau ei ysbryd.

Dywedodd Petr, "Da i ni fod yma; os ewyllysi gwnawn yma dair pabell, un i ti, ac un i Moses, ac un i Elias, heb wybod beth yr oedd yn ei ddywedyd." Credai fod mawredd a gogoniant y nefoedd wedi d'od i'r ddaear, ac y byddai yn ddigon o nefoedd iddo ef. Hwn ydyw teimlad ei bobl pan y daw tipyn o'r nefoedd i'r ddaear. "Preswyliaf yn dy babell byth," medd un. Yr ydwyf fi yn dymuno gwneyd fy nghartref tragywyddol yn y babell. Yn ychwanegiad at gysur ac hyfrydwch cyfarfod y gweddnewidiad, yr oeddynt yn adnabod eu gilydd. Yr oedd y dysgyblion yn adnabod Moses ac Elias. Ni ddywed yr hanes fod neb wedi mynegu iddynt pwy oeddynt. Onid oes yma awgrym i ni eu bod

yn adnabod eu gilydd yn y nefoedd? Y mae pawb yno yn gwisgo ei gymeriad ei hun. Pan yr oedd Petr yn cynllunio i wneyd tair pabell daeth cwmwl goleu: rhyw fath o Shecinah dwyfol, ac a'u cysgododd hwynt; ac wele lef o'r cwmwl yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd; gwrandewch ef." Cyhoeddodd y Tad o'r nef ei dystiolaeth uchel am dano.

Gwnaeth y llef o'r nef argraph annileadwy ar y dysgyblion, a chadarnhaodd gyffes Petr yn eu meddyliau. "Ië," oedd yr ateb yn eu meddyliau wedi clywed y llef, "efe yw y Crist, Mab y Duw byw; arno ef y gwrandawn; ei ddeddfau ef a gadwn; llwybrau ei orchymynion ef a gerddwn; ei wirioneddau ef a draethwn." Gwna Petr yn ei ail epistol gyfeiriad at y llef, a'r argraphiadau a wnaeth y llef arnynt. Nis gallai anghofio y llef, yr hon oedd yn datgan parch a gogoniant iddo oddiwrth y mawr ragorol ogoniant; "a'r llef yma a glywsom ni pan oeddym gydag ef ar y mynydd sanctaidd, a ni a welsom ei fawredd ef â'n llygaid," meddai y tystion hyn. Yr oedd y gogoniant a'r llef o'r nef yn fwy nag y gallasai y dysgyblion ei ddal: "hwy a syrthiasant ar eu hwyneb, ac a ofnasant yn ddirfawr." Cyffyrddodd yr Iesu â hwy â'i dyner law, a dywedodd, "Cyfodwch, ac nac ofnwch. Ac wedi iddynt ddyrchafu eu llygaid, ni welsant neb ond yr Iesu yn unig." Aros am ychydig ydyw arfer trigolion y nefoedd yn nhiriogaeth ac awyrgylch y byd hwn; ond ni fydd yn dlawd ar ei bobl ar y ddaear os bydd yr Iesu yn aros gyda hwynt.

Ei orchymyn iddynt oedd, "Na ddywedwch y weledigaeth i neb." Nid oedd y byd na'r eglwys mewn sefyllfa ac agwedd addas i werthfawrogi y datguddiad gogoneddus. Wrth feddwl am Elias daeth i feddwl y dysgyblion fod yr ysgrifenyddion yn dal fod yn rhaid dyfod Elias yn gyntaf; a gofynasant iddo paham y dywedent hyny. "Mae Elias wedi dyfod eisoes,"

meddai, "ac nid adnabuant ef," gan gyfeirio at Ioan Fedyddiwr.

### YN AMDDIFFYN Y DYSGYBLION.

Profodd yr Iesu mai cyfnewidiol ydyw y byd hwn yn y profiad o weniadau a chymeradwyaeth y mynydd sanctaidd; buan y profodd nad oedd hi i bara felly yn hir yn y byd. Cymerodd yr ysgrifenyddion fantais ar ei absenoldeb i geisio ei waradwyddo trwy geisio gwaradwyddo ei ddysgyblion. Amlwg ydyw dichell y gelyn yn ymgyrch yr ysgrifenyddion ar y dysgyblion yr adeg hon. Yr oedd eu Harglwydd yn absenol, a'r tri blaenaf o'r apostolion yn absenol. Gallasai hefyd fod mynegiad eu Harglwydd am ei farwolaeth wedi eu taro â mesur o dristwch a digalondid ac yn tueddu i wanhau eu ffydd. Yr oedd yr achos a ddygid o'u blaen yn gofyn ffydd gref. Dywed yr Iesu, "Eithr nid â y rhywogaeth hyn allan, ond trwy weddi ac ympryd." Pan y disgynodd efe o'r mynydd at y dysgyblion gwelai dyrfa o'u hamgylch, a'r ysgrifenyddion yn ceisio eu gwarthruddo. Buan y canfyddodd y dyrfa yr Iesu yn dyfod, ac yr oedd feallai ychydig o ddisgleirdeb gogoniant y mynydd heb gilio yn llwyr, fel y dychrynasant, a rhedasant ato, ac a'i cyfarchasant. Dangosodd ei gariad a'i ofal am ei ddysgyblion gweiniaid mewn profedigaeth. Gofynodd gyda mesur o awdurdod i'r ysgrifenyddion, "Pa gydymholi yr ydych yn eich plith, neu gyda hwynt?"

Ni fu erioed yn well gan y dysgyblion glywed ei lais, a'i weled yn dyfod mewn pryd i'w gwaredu o rwydau y gelyn. Ni allodd yr ysgrifenyddion ateb gair; a da oedd cael bod yn ddistaw mewn dychryn yn ddiau, gan fod ei lais a'i eiriau yn golygu amddiffyniad ar y dysgyblion yn erbyn eu hymosodiad hwy.

IACHAU Y BACHGEN A'R YSBRYD MUD YNDDO.

Llefodd un o'r dyrfa, "Athraw, mi a ddygais fy mab atat âg ysbryd mud ynddo." Dichon fod ysbryd mud yn waeth na'r cyffredin, oherwydd ei fod yn croni i fewn yn fwy. Mae y desgrifiad a roddodd y tad o'r ysbryd mud yn ei fab yn mynegi fod yr achos yn un hynod ddifrifol. Dangosodd ei fod yn ddifrifol a thaer yn ei gais trwy ostwng iddo ar ei liniau. "Canys fy unig-anedig yw," meddai, "ac mi a ddeisyfais ar dy ddysg-yblion ei fwrw ef allan, ac nis gallasant." Trodd yr Iesu i'w ceryddu gyda'u gilydd. Meddai, "O genhedl-aeth anffyddlawn a throfaus. Pa hyd y byddaf gyda chwi? pa hyd y goddefaf chwi?" Dangosodd yn yr amgylchiad hwn ei fod ef yn hoff o drugaredd. Nis gallodd beidio trugarhau wrth y tad a'r bachgen. "Os gelli di ddim," gofynodd, "cymhorth ni." "Os gelli di gredu," atebodd yr Iesu, "pobpeth sydd i'r neb a gredo." Defnyddiai y cyfleusdra i gynyrchu ffydd ynddo. "Yr wyf fi yn credu, O Arglwydd," meddai; ond nid oedd yn meddwl fawr am ei gredu. "Cymhorth fy anghredin-iaeth," gofynodd. Trugarhaodd yr Iesu wrthynt trwy iachau ei fab. Y mae efe yn gryfach na'r cryf arfog.

Gadawodd Cesarea Philippi, a chyfeiriodd i Galilea, nid ar hyd ffordd amlwg, am y dymunai gael hamdden i ddysgu y dysgyblion, ac i fynegu iddynt drachefn y traddodid Mab y dyn i ddwylaw dynion, ac y lladdent ef, ac wedi ei ladd yr adgyfodai y trydydd dydd. Er ei fod wedi mynegu yn eglur iddynt o'r blaen, ac er fod tri ohonynt wedi clywed ymddiddan ar y gwirionedd hwn ar y mynydd sanctaidd, ac er eu bod dan addysg yr Athraw mawr, nid oeddynt yn deall yr ymadrodd. Hir iawn oeddynt yn ymddadwreiddio oddiwrth syniadau daearol yr Iuddewon. Yr oedd mynegiadau yr Iesu am ei farwolaeth fel tònau geirwon o dristwch yn curo arnynt.

# PENOD XI.

---

*Yr Iesu yn cyflawni gwyrth i dalu y dreth—Y dysgyblion yn ymryson â'u gilydd pwy fyddai fwyaf—Yn dysgu ei ddysgyblion i fyned i fyny trwy fyned i lawr, i barchu y rhai bychain, i faddeu i'r brawd edifeiriol, ac i ochel nodau annuwioldeb y gwas anrhugarog yn y ddameg—Y Gwaredwr yn rhoddi ei fryd ar fyned i Jerusalem—Y Samariaid yn gwrthod ei groesawu—Yn iachau y deg gwahangleifion—Yn ngwyl y pebyll.*

---

PAN ddaethant i Capernaum, gofynodd y rhai a dderbyniai arian y deyrnged i Petr, "Onid yw eich Athraw chwi yn talu teyrnged?" Yntau a ddywedodd, "Ydyw." Y mae yn debyg mai i dŷ Petr yr aethant i geisio arian y deyrnged. Gofynodd yr Iesu i Petr gan bwy yr oedd brenhinoedd yn cymeryd teyrnged: gan eu plant eu hun ynte gan estroniaid? Atebodd Petr, "Gan estroniaid." "Y mae y plant, gan hyny," meddai ein Harglwydd, "yn rhyddion." Yr ydwyf fi gan hyny yn rhydd yn nheml fy Nhad. "Er hyny, rhag i ni eu rhwystro hwy, dos i'r môr, a bwrw fach, a chymer y pysgodyn a ddêl i fyny yn gyntaf; ac wedi i ti agoryd ei safn, ti a gei ddarn o arian; cymer hwnw, a dyro iddynt drosof fi a thithau." Wele yr hwn yr oedd y ddaear yn eiddo iddo, a'r hwn oedd bia yr aur a'r arian, a'r anifeiliaid ar fil o fynyddoedd, heb arian i dalu y dreth. Dyma olwg ar Frenin nef yn dlawd i'n cyfoethogi ni trwy ei dlodi ef. Ymdrechodd a llwyddodd y Phariseaid a'r Saduceaid i wneyd y dreth at gynal

crefydd yn orfodol; ond dysgodd yr Athraw yma mai rhoddion gwirfoddol ydyw rhoddion at gynal crefydd, a chondemniodd y gorfodol.

### Y DYSGYBLION YN YMDDADLEU PWY FYDDAI FWYAF.

"Pwy bynag gan hyny a'i gostyngo ei hunan fel y bachgenyn hwn, hwnw yw y mwyaf yn nheyrnas nefoedd."—MATTH. xviii. 4.

Cododd y cwestiwn, yr hwn sydd yn parhau i godi, yn mysg y dysgyblion, ar y ffordd i Capernaum, pwy a fyddai fwyaf ohonynt. Y mae yr hanes yn peri i ni feddwl fod yr Iesu yn dewis teithio wrtho ei hun, i fyfyrio ar y gwaith mawr oedd o'i flaen, a'r dysgyblion yn teithio gyda'u gilydd. Yr oedd hon yn hamdden fanteisiol iddynt hwy i ymddiddan am ei farwolaeth; ond yn lle hyny ymddadleuasant â'u gilydd pwy fyddai fwyaf yn nheyrnas nefoedd. Gallasai detholiad yr Iesu o'r tri i fod yn dystion o'r gweddnewidiad ar y mynydd fod yn achlysur o'r ymddadleu hwn. Hawdd y gallwn feio y dysgyblion pan yr ydym wedi derbyn mwy o oleuni; ond y mae yr un ysbryd a'r un cwestiwn yn fyw o hyd. Pwy sydd fwyaf oedd y cwestiwn yn mysg dysgyblion yr Iesu gynt, ac y mae yn aros yn mysg ei ddysgyblion hyd y dydd hwn. O'r un ysbryd ac o'r un cwestiwn y cyfyd yr awydd am gadeiriau, a swyddau, ac enwau.

### Y FFORDD I FOD YN FWYAF AC YN GYNTAF.

Pan y cyrhaeddasant y tŷ yn Capernaum, gofynodd iddynt, "Beth yr oeddych yn ymddadleu ar y ffordd pwy a fyddai fwyaf ohonoch?" Yr oedd y cwestiwn wedi cael y fath le yn eu meddwl fel y meddyliasant ofyn iddo, Pwy sydd fwyaf yn nheyrnas nefoedd? Eisteddodd yr Iesu, a galwodd y deuddeg ato i dderbyn cyfarwyddyd pa fodd i fod yn fwyaf. Ac er mwyn

argraphu ar eu meddwl wirionedd y cyfarwyddyd, efe a gymerth fachgenyn, ac a'i gosododd yn eu canol, ac wedi hyny cymerodd ef yn ei freichiau, a dywedodd, "Yn wir y dywedaf wrthych, oddieithr eich troi chwi a'ch gwneuthur fel plant bychain, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd." Y mae digon o ddrwg yn yr ysbryd hunanol a daearol yna, yr hwn oedd ynoch ar y ffordd, i'ch cau chwi allan o deyrnas nefoedd. Nid yn unig y mae digon o ddrwg yn hunanoldeb i rwystro i chwi lwyddo yn y byd hwn, ond hefyd i'ch cau chwi allan o deyrnas nefoedd. Y mwyaf yn fy nheyrnas i ydyw y mwyaf mewn gostyngeiddrwydd. Y mae y bachgen bychan hwn yn ostyngedig, a pharod ydyw i weini ar bawb, ac nid ydyw yn meddwl dim o hyny: gwna hyny o ufudd-dod unplyg a gonest; nid ydyw yn edrych i lawr ar neb, a gwel ei hun yn llai na neb. Dyma i chwi esiampl mewn gostyngeiddrwydd. Nid ydyw y bachgenyn hwn yn gwybod ei fod yn ostyngedig, nac yn disgwyl dim am hyny; a phan y mae mewn angen, mynega ei angen, heb geisio ei guddio. Rhydd yma gyfarwyddyd buddiol a gwerthfawr i'w apostolion a'i weision. Trwy ostwng eich hunain, meddai, y mae i chwi fyned yn fawr, a pheidio gwneyd hyny er mwyn bod yn fawr. Nid ydyw y bobl sydd yn fawr yn gwybod hyny, am eu bod yn ostyngedig. Parod ydynt i weini ar ereill, gan dybied ereill yn well na hwy eu hunain. Edrychant i fyny ar ereill. Y ffordd i fod yn gyntaf ydyw bod yn olaf o'r cwbl, ac yn weinidog i bawb.

Canfyddwn yn ei gyfarwyddyd i fod yn fawr ddwy ffordd i fyned i fyny, sef gostwng ein hunain, a pheidio ceisio bod yn fwyaf fel y byddom ostyngedig, a thrwy barchu y rhai bychain a gredant ynddo ef. Dywed yma wrth ei ddysgyblion ac apostolion, ac wrthym ninau, am farwhau a hunanddarostwng y duedd leiaf a all fod ynddynt ac ynom i rwystro un o'r rhai bychain a

gredant ynddo ef. Y mae dynion yn tynu aflwydd ar eu penau, a hwnw heb edifeirwch yn aflwydd tragywyddol, trwy rwystro un o anwyliaid yr Iesu. Fel hyn y dywed efe, "Da fyddai iddo pe crogid maen melin oamgylch ei wddf, a'i foddi yn eigion y mor, na rhwystro un o'r rhai bychain hyn a gredant ynof fi." Gair hynod ydyw yr un a ganlyn, "Canys anghenraid yw dyfod rhwystrau." Beth bynag ydyw gwir ystyr y geiriau, y mae efe yn abl i fendithio y rhwystrau i'w anwyliaid i gryfhau eu hymlyniad ynddo a'u dibyniad arno, a'u profi a'u huno a'u gwneyd yn oleuadau disgleiriach yn y byd. Ond y mae gwae yr Iesu uwchben yr hwn sydd yn dwyn y rhwystrau. "Er hyny," meddai, "gwae y dyn hwnw trwy yr hwn y daw y rhwystr!" Byddwch wyliadwrus iawn, meddai, na ddirmygoch yr un o'r rhai bychain hyn: y mae eu hangelion bob amser yn gweled wyneb y Tad trwy weini ar y rhai bychain. Ni fuasent yn gweled gwyneb y Tad mor aml oni buasai fod eu negeseuon i'r rhai bychain hyn yn werthfawr gan y Tad; ac wyddoch chwi, y mae un o'r rhai bychain hyn yn ffrwyth fy nyfodiad i'r byd i gadw y colledig, "canys daeth Mab y dyn i gadw yr hyn a gollasid."

Mynegodd Ioan i'r Iesu iddo weled un yn bwrw allan gythreuliaid yn ei enw, yr hwn nid oedd gyda hwy, "ac ni a waharddasom iddo, am nad oedd gyda ni." Tybiai Ioan nad oedd ef i wneyd defnydd o enw Crist heb fod dan eu llywodraeth hwy ac mewn undeb â hwy. Dangosodd y Gwaredwr ei fod ef yn berffaith rydd oddiwrth ragfarn, ac yn caru gweled pawb a chlywed am bawb yn ceisio gwneyd daioni yn ei enw ef. "Na waherddwch iddo," meddai, "y neb nid yw i'n herbyn ni trosom ni y mae." Nis gall roddi anair i mi trwy fwrw allan gythreuliaid yn fy enw i.

## GOFAL EI GARIAD.

I fynegu gwaith a gofal ei gariad am ei bobl, cymer fenthyg gofal a phryder y bugail am un ddafad golledig o gant o ddefaid. Y mae y bugail yn myned ar ol y golledig i eithaf anialwch y mynyddoedd i'w cheisio, ac wedi ei chael hi llawenycha am hono fwy nac am namyn un cant y rhai nid aethant ar ddisperod. Felly y mae y Tad yn llawenychu yn y pechadur wrth ei gadw. Yr ydwyf fi wedi d'od o'r nef i lawr, ac i fyned i anialwch y mynyddoedd i geisio a chadw y colledig. Nis gall fy Nhad ddygymod â cholli yr un o'r rhai bychain; "nid yw ewyllys fy Nhad gyfrgolli un o'r rhai bychain hyn." Ei hyfrydwch ydyw cadw pechadur. Efe a lonydda yn ei gariad, ac a ymddigrifa ynddo dan ganu.

Mae yr Athraw mawr yn dysgu ei ddysgyblion i fod yn wyliadwrus rhag dirmygu y brawd pan wedi pechu yn eu herbyn, ïe, hyd yn nod pan y mae y brawd wedi dechreu y drwg, fel y dywedir, ac yn eu cymhell i'w ddirmygu. Mae balchder yn y galon, yr hwn sydd yn wrthwynebol i'r gostyngeiddrwydd a ddysgir ac a argymhellir gan yr Iesu, yn y perygl o ddirmygu y brawd pan wedi pechu yn ei erbyn ef. Rhydd yr Iesu i ni yma ei reol ddysgyblaethol pa fodd i frodyr ymddwyn tuagat eu gilydd pan y mae y naill wedi pechu yn erbyn y llall. Y mae yr ymdrech yn y lle cyntaf i fod yn bersonol ac anghyhoedd. "Dos," meddai, "ac argyhoedda ef rhyngot ti ac ef ei hun. Os efe a wrendy arnat, ti a enillaist dy frawd." Yn ol Luc, "Os dywed dy frawd, Y mae yn edifar genyf, maddeu iddo." Os metha yr ymdrech gyntaf, yr ail ymdrech yn y rheol ydyw, cymer eto gyda thi un neu ddau i'th gynorthwyo, "fel yn ngenau dau neu dri o dystion y byddo pob gair yn safadwy." A'r drydedd ymdrech ydyw, ac os efe ni wrendy arnynt hwy, dywed i'r eglwys; ac os ni wrendy

efe ar yr eglwys, gelli ei gyfrif megis anghredadyn, ond anfon ddeisyfiad at fy Nhad ar ei ran.

### EI ADDEWID I FOD GYDA'I BOBL.

Dymunai arnynt dalu sylw manwl a gwastadol yn eu holl helyntion a'u hymdrechiadau gyda'i deyrnas i ddylanwad ac effeithiolrwydd eu hundeb â'r nef, ac i ddylanwad eu hundeb â'u gilydd mewn gweddi ddyfal at y Tad yn ei enw ef. "Yn wir meddaf i chwi, pa bethau bynag a rwymoch ar y ddaear fyddant wedi eu rhwymo yn y nef, a pha bethau bynag a ryddhaoch ar y ddaear a fyddant wedi eu rhyddhau yn y nef." Y mae cydsyniad dau neu dri mewn gweddi ar y ddaear am ddim oll yn llwyddo gyda fy Nhad. Efe a wneir iddynt gan fy Nhad, yr hwn sydd yn y nefoedd. Y rheswm a rydd efe dros y llwyddiant ydyw ei bresenoldeb ef gyda hwynt: "Canys lle y mae dau neu dri wedi ymgynull yn fy enw, yno yr ydwyf yn eu canol hwynt." Dyma ddigon o reswm dros lwyddiant nifer bychan yn d'od yn nghyd i addoli yn ei enw ef. Os dau a ddaw yn nghyd i'r cyfarfod, y mae efe wedi rhwymo ei hun i fod yn drydydd. Cyfarfod yn enw Crist ydyw y cyfarfod goreu yn y byd hwn. Y mae ef ei hun wedi addaw bod gyda ni, ac yma ni gawn gyfleusdra i gyfarfod âg ef ei hun.

### EI FADDEUGARWCH.

Gwrandawodd y dysgyblion ef mewn distawrwydd. Torodd Petr ar y distawrwydd dan ddylanwad dysgeidiaeth ragfarnllyd yr Iuddewon trwy ofyn iddo, "Sawl gwaith y pecha fy mrawd i'm herbyn ac y maddeuaf iddo?" Yr ydym ni wedi cael ein dysgu, gallasai ddyweyd, i faddeu deirgwaith a dim pellach. A fyddai seithwaith yn ddigon i faddeu? Yr oedd efe wedi deall fod mwy o faddeuant yn ei Arglwydd nag yn y

dysgawdwyr Iuddewig; ond dysg efe nad ydynt i wrthod maddeu pan y gofynir yn gywir am dano. "Nid wyf yn dywedyd," meddai, "hyd seithwaith, ond hyd ddengwaith a thriugain seithwaith."

I rybuddio ei ddysgyblion i beidio bod dan ddylanwad ysbryd dial ac anfaddeugarwch, cyffelyba deyrnas nefoedd i ryw frenin a fynai gael cyfrif gan ei weision. Mae y brenin yn y ddameg, wrth wneyd cyfrif â'i weision, yn cael un oedd yn ei ddyled o ddeng mil o dalentau. Syrthiodd y dyledwr hwn o flaen y brenin, "ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd, bydd ymarhous wrthyf, a mi a dalaf i ti y cwbl oll;" a'r brenin a dosturiodd wrtho, ac a faddeuodd iddo y ddyled. Wedi derbyn maddeuant o ddyled mor fawr y mae ef yn cyfarfod âg un o'i ddyledwyr ei hun, yr hwn oedd yn ei ddyled o gan' ceiniog. Nid oedd ganddo ef faddeuant i hwn. Taflodd ef i garchar hyd oni thalai efe y cwbl; ac wedi i'r brenin glywed hyn gwnaeth yntau yn gyffelyb âg ef. Nid ydym i olygu fod Duw yn cosbi pechodau dynion wedi maddeu iddynt, ac nid ydyw ymddygiad y gwas anrhugarog hwn yn dangos ymddygiadau dynion wedi profi a meddianu edifeirwch a maddeuant pechodau.

"Felly y gwna fy Nhad nefol â chwithau," meddai, "oni faddeuwch o'ch calonau bob un i'w frawd eu camweddau." Dywed wrthynt am ochel ysbryd a gweithredoedd y gwas anrhugarog, y rhai sydd yn nodau neillduol o annuwioldeb. Y mae pobl Dduw i ochelyd a gwylio o hyd rhag dwyn nodau annuwiol y byd; a dywed wrthynt am iddynt aros dan lywodraeth maddeuant, a pheidio gosod terfynau iddo. Nid oes derfyn ar faddeuant Duw i'r edifeiriol; gan hyny nid oes terfyn i fod ar ein maddeuant ninau pan y gofynir am dano yn gywir a phriodol.

## RHODDI EI FRYD AR FYNED I JERUSALEM.

"Yntau a roddes ei fryd ar fyned i Jerusalem."—Luc x. 51.

Yr oedd yr Iachawdwr wedi bod y pryd hwn oddeutu haner blwyddyn o'r golwg i fesur, rhag gosod ei hun yn anamserol yn nwylaw ei elynion; ac nid oedd ganddo ond oddeutu chwe' mis i orphen gwaith mawr ei oes. Wedi gadael Galilea rhoddodd ei fryd ar fyned i Jerusalem, er yn gwybod pobpeth oedd i'w gyfarfod ef yno. Yr oedd ei galon yn y gwaith o gadw gymaint fel yr oedd ei fryd ar fyned i Jerusalem. Nis gallwn olrhain ei gamrau yn fanwl yn ystod y chwe' mis diweddaf o'i oes. Canfyddwn ef yn nherfynau Samaria, Perea, glanau yr Iorddonen, yn Bethania, ac yn nhref Ephraim, ond Jerusalem oedd ei gyrchfa o bob man yn ystod y misoedd diweddaf hyn. Bu yn Jerusalem mewn dau amgylchiad cyn y Pasg diweddaf, sef yn ngwyl y pebyll ac yn ngwyl y cysegriad, yr hon a sefydlwyd oddeutu cant a chwech a deugain o flynyddau cyn Crist, i goffhau ail gysegriad y deml wedi cael ei halogi gan Antiochus Epiphanes. Ceisiasant ei ddal yn y gyntaf, ac yn yr ail cymerasant gerig i'w labyddio.

Dywedodd ei frodyr wrtho, "Cerdda ymaith oddi yma a dos i Judea, fel y gwelo dy ddysgyblion dy weithredoedd di;" a'r rheswm dros eu cyfarwyddyd yw, "canys nid oedd ei frodyr yn credu ynddo:" nid oeddynt wedi ei adnabod fel eu Ceidwad. Daearol, gan hyny, ydoedd eu cyfarwyddyd. Yr ateb a roddodd yw, "Ni ddaeth fy awr i eto;" y mae i mi fy amser i fyned i Jerusalem. Ewch chwi i fyny i'r wyl hon; gellwch chwi fyned yr amser a fynoch; nid ydych chwi wedi gwneyd dim i gynhyrfu y gelyn yn eich erbyn. Ni ddichon y byd eich cashau chwi; yr ydych chwi yn cyflawni ei weithredoedd. Nid wyf fi eto yn myned i'r wyl hon; arhosaf rai dyddiau heb dd'od yno. Efe a

aeth i'r wyl, nid yn amlwg, ond megis yn ddirgel. Wedi aros rhai dyddiau cyfeiriodd efe a'i ddysgyblion tua Jerusalem, nid gyda'r lluaws, ond trwy derfynau Samaria. Ar y daith hon, debygem, yr anfonodd yr Iesu genhadon o flaen ei wyneb i dref y Samariaid, i barotoi iddo ef. "Ac nis derbyniasant hwy ef, oblegid fod ei wyneb ef yn tueddu tua Jerusalem." Gofynodd Iago ac Ioan, meibion y daran, a fynai efe iddynt ofyn am dân i lawr o'r nef a'u difa hwynt, megis y gwnaeth Elias. Dichon eu bod tua'r fan y gweddïodd Elias am dân i lawr o'r nefoedd i ddifa y ddau ddeg a deugain y rhai a anfonodd y brenin at Elias gyda'r amcan o'i ddarostwng, os nad ei ladd ef. Gwrandawodd yr Arglwydd ar weddi Elias trwy roddi tân i lawr o'r nefoedd a'u difa hwynt. Daeth yr amgylchiad yn fyw i feddwl Iago ac Ioan wrth weled y Samariaid yn gwrthod rhoddi derbyniad iddo ef a hwythau. Trodd yr Iesu i'w ceryddu hwynt am eu hysbryd dialeddol pan yn canlyn yr hwn a ddaeth nid i ddistrywio eneidiau dynion ond i'w cadw. "Ni wyddoch," meddai, "o ba ysbryd ydych chwi; canys ni ddaeth Mab y dyn i ddistrywio eneidiau dynion ond i'w cadw." Mae distrywio eneidiau dynion yn hollol groes i amcan fy nyfodiad i i'r byd. Yr ydych chwi yn ganlynwyr i mi; yr ydych, gan hyny, i gyrchu at yr un amcan mawr. Wele waith digon mawr i Fab Duw dd'od i lawr o'r nef i'w gyflawni; nid oedd neb yn abl i gadw eneidiau ond Mab y dyn, a dyrchafodd efe gadw eneidiau yn amcan i bob peth arall.

Pan ar y ffordd o'r lle hwn i dref arall dywedodd un wrtho, "Arglwydd, mi a'th ganlynaf i ba le bynag yr elych." Dangosodd nid yn unig ei fod efe ei hun wedi cymeryd cadw eneidiau yn amcan uwchaf i gyrhaedd ato, ond hefyd galwai ar ei ganlynwyr i wneyd yn gyffelyb trwy roddi y lle blaenaf i'w deyrnas ef. Mynegodd ei hanes yn ei gysylltiad â'r byd wrth hwn, fel y

gallai fwrw y draul gyda golwg ar fanteision bydol. Dyma fy hanes i, meddai; os dewiset gael gwybod faint â elli di ddisgwyl mewn ystyr ddaearol trwy fy nghanlyn i. "Y mae gan y llwynogod ffauau, a chan adar yr awyr nythod; ond gan Fab y dyn nid oes lle y rhoddo ei ben i lawr." "Dilyn fi," meddai wrth un arall." Gofynodd hwnw a gai efe aros hyd nes y byddai ei dad ef farw. "Gad i'r meirw gladdu eu meirw," meddai; "ond dos di a phregetha deyrnas Dduw." Dywedodd wrth un arall nad oedd yr hwn oedd yn rhoddi ei law ar yr aradr ac yn edrych ar y pethau o'i ol yn gymwys i deyrnas Dduw. Geilw ar bob un a ddel ato i osod ei deyrnas ef yn mlaenaf.

ANFON ALLAN Y DEG A THRIUGAIN.

Mae yn bosibl mai yr adeg hon yr anfonodd efe y deg dysgybl a thriugain, ac a'u danfonodd hwynt bob yn ddau o flaen ei wyneb i bob dinas a man lle yr oedd efe ar fedr dyfod. Dywedodd wrthynt, "Y cynhauaf yn wir sydd fawr, ond y gweithwyr yn anaml; gweddiwch gan hyny ar Arglwydd y cynhauaf, am ddanfon allan weithwyr i'w gynhauaf. Ewch: wele, yr wyf fi yn eich danfon chwi fel ŵyn yn mysg bleiddiaid." Dywedodd wrthynt am iddynt fyned allan heb gôd, nac ysgrepan, nac esgidiau, ac na chyfarchent well i neb ar y ffordd. Anfonodd hwy bob yn ddau i gyhoeddi yn y dinasoedd, "Daeth teyrnas Dduw yn agos atoch." Pa ddinas bynag fydd yn barod i'ch derbyn, derbyniwch eu croesaw, ac iachewch y cleifion, a dywedwch, "Daeth teyrnas Dduw yn agos atoch;" a phwy bynag a fydd anmharod i'ch derbyn, dangoswch eich anghymeradwyaeth trwy ysgwyd y llwch oddiwrth eich traed. Yna mynegodd y canlyniadau o gamddefnyddio breintiau yr Efengyl. Bydd cyfrif pobl gwlad Efengyl yn fawr yn y farn, a bydd yn esmwythach yn y farn ar y rhai sydd

wedi derbyn llai o fanteision na phobl Capernaum, y rhai a ddyrchafwyd hyd y nef. Dywed wrth y bobl sydd yn camddefnyddio breintiau yr Efengyl, "Eithr esmwythach fydd i Tyrus a Sidon yn y farn nag i chwi."

Cyn hir dychwelodd y deg a thriugain o'r daith gyda llawenydd. Tybia rhai mai ar ol gwyl y pebyll y dychwelasant. Gyda llawenydd dywedent, "Hyd yn nod y cythreuliaid a ddarostyngir i ni, yn dy enw di." Ni ddarfu iddynt ddeall, fe ddichon, iddo roddi iddynt awdurdod i fwrw allan gythreuliaid. Yr oedd gweled eu hunain yn drech na'r ysbrydion drwg, trwy ei enw ef, yn peri iddynt lawenychu. Dangosodd ei gymeradwyaeth o berthynas i'w taith, a'i foddlonrwydd yn eu llwyddiant yn ei enw. "Mi a welais Satan," meddai, "megis mellten, yn syrthio o'r nef." Cafodd olwg ar Satan a'i deyrnas yn syrthio trwy bregethiad yr Efengyl. Wedi rhoddi iddynt awdurdod ar holl gryfder y gelyn, dywed wrthynt, "Eithr yn hyn na lawenhewch, fod yr ysbrydion wedi eu darostwng i chwi." Dangosaf i chwi uwch ffynonell o lawenydd: "ond llawenhewch yn hytrach am fod eich enwau yn ysgrifenedig yn y nefoedd." Llawenhewch am eich bod yn blant Duw, yn bobl yr Arglwydd, a'ch enwau yn ysgrifenedig ar lyfr y teulu. Llawenychodd yn ei ysbryd wrth weled ei bobl, er yn fychain, yn ddigon gwerthfawr yn ngolwg ei Dad i ddatguddio iddynt bethau mawrion ei deyrnas ef.

## AR EI FFORDD I'R WYL.

Ar ei daith i'r wyl cyfarfu âg ef, mewn rhyw dref, ddeg o wyr gwahangleifion, y rhai a safasant o hirbell, a hwy a godasant eu llef, gan ddywedyd, "Iesu Feistr, trugarha wrthym." "Ewch," meddai, "a dangoswch eich hunain i'r offeiriaid." A bu fel yr oeddynt yn myned fe a'u glanhawyd hwynt. Dychwelodd un gan folianu Duw â llef uchel; ac efe a syrthiodd ar ei wyneb wrth

ei draed ef, gan ddiolch iddo: a Samariad oedd efe. Gofynodd yr Iesu, "Oni lanhawyd y deg, ond pa le y mae y naw? Ni chaed a ddychwelasant i roi gogoniant i Dduw ond yr estron hwn." Gwelodd yn ei bobl ei hun agwedd aniolchgar ac anheilwng wedi derbyn gwaredigaeth. Dywedodd wrth y Samariad hwn, "Dos ymaith; dy ffydd a'th iachaodd."

"Yna yntau hefyd a aeth i'r wyl, nid yn amlwg, ond megis yn ddirgel," a murmur mawr oedd am dano yn yr wyl. Efe oedd testyn siarad yn yr wyl. Pa le y mae efe? gofynai yr Iuddewon. Dymunol ganddynt hwy fuasai iddo fod yn absenol o un o brif wyliau y genedl, er mwyn cael cyhuddiad yn ei erbyn. Tua chanol yr wyl ymddangosodd yr Iesu yn y deml yn athrawiaethu. Yr oedd efe yn athrawiaethu yn y deml gyda nerth a dylanwad, ac ymresymai yn argyhoeddiadol.

Pa fodd y medr hwn ddysgeidiaeth, gofynent, ac yntau heb ddysgu? Atebodd yr Iesu fod ei ddysgeidiaeth ef wedi d'od, nid oddiwrth athrawon a dysgawdwyr dynol, ond oddiwrth ei Dad o'r nef. Dysgeidiaeth fy Nhad ydyw fy nysgeidiaeth i. Yr oedd efe yn dysgu, nid i geisio gogoniant gan ddynion, ond i ogoneddu ei Dad, yr hwn sydd yn y nefoedd. Yr oedd eu pechodau hwy a'u twyll yn cuddio gwirionedd a dwyfoldeb ei ddysgeidiaeth ef. Y mae gwneuthur y ddysgeidiaeth yn rhoddi tystiolaeth o'i gwirionedd a'i dwyfoldeb. Pe buasai ynddynt gariad at wirionedd ac uniondeb, buasai ynddynt hefyd gariad at ei ddysgeidiaeth ef.

### YN GWAHODD AR DDYDD MAWR YR WYL.

Yr oedd dydd diweddaf yr wyl yn ddydd mawr yr wyl: ar y dydd diweddaf y byddai mwyaf o bobl yn d'od yn nghyd. Llawer a yfent o ddyfroedd Siloam, a dygent ef i'r deml i adgoffa y dwfr o'r graig yn yr anialwch. Ac ar ddydd mawr yr wyl safodd yr Iesu

mewn lle manteisiol i'r torfeydd ei weled a'i glywed, a llefodd, "Od oes ar neb syched, deued ataf fi ac yfed." Ymdrechodd i wneyd ei wahoddiad yn glywadwy i'r torfeydd trwy godi ei lef. Yr oedd ei olwg a'i lef yn rasol yn ddiameu. Yr oedd pereidd-dra dwyfol yn ei lais. Nid oedd neb ond efe a allasai yn rasol wneyd hyn. Yr oedd efe yn codi ei lef, ac yn gwahodd pawb ato ei hun i gael eu disychedu o'r dyfroedd bywiol. Dywedodd llawer a glywsant y llef, "Yn wir, hwn yw y prophwyd." Eraill a ddywedasant, "Hwn yw Crist." Yr oedd cynhwrf yn mysg y bobl yn ei gylch. Mynai rhai ei ddal ef. Tystiolaeth rhai o'r swyddogion wrth yr archofteiriaid a'r Phariseaid oedd, "ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn." Trwy ymresymu mewn tawelwch yn erbyn eu rhagfarn, a thrwy egluro yr Ysgrythyrau enillodd gydymdeimlad llawer o'r bobl.

Ceisiodd yr archoffeiriaid a'r ysgrifenyddion ei ddal, oherwydd ei fod yn tynu y bobl ato. "Paham," gofynent i'r swyddogion, "na ddygasech chwi ef?" Yr ateb a gawsant, "Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn." "A hudwyd chwithau hefyd?" gofynent. A gredodd neb o'r penaethiaid ynddo, neu y Phariseaid? Nid oes fawr o bwys yn y bobl gyffredin o Galilea, y rhai ni wyddant y gyfraith; melldigedig ydynt. Gofynodd Nicodemus, yr hwn fu gyda'r Iesu liw nos, gwestiwn iddynt a ddyrysodd eu cynlluniau, yr hyn a ddywed ei fod yn ei garu. Gofynodd, "A ydyw ein cyfraith ni yn barnu dyn oddieithr clywed ganddo ef yn gyntaf, a gwybod beth a wnaeth efe?" Yr oedd yn y cynghor un yn ffyddlawn i'r Iesu, am ei fod wedi ei adnabod. Mewn canlyniad i ofyniad Nicodemus, aeth pawb i'w dŷ ei hun.

# PENOD XII.

---

*Yr Iesu yn Mynydd yr Olewydd—Yn y deml yn trugarhau wrth yr hon a ddaliwyd mewn godineb—Crist fel goleuni y byd—Yn dysgu y cyfreithiwr trwy ddameg y Samariad trugarog—Yn nhy Martha a Mair—Yn dysgu y dysgyblion drachefn i weddïo—Dameg y cyfaill yn myned at ei gyfaill ganol nos—Iachau y dyn a anesid yn ddall—Y dall yn cael ei alw o flaen y Sanhedrim—Yr Iesu fel Bugail da—Yn y gysegr wyl yn Jerusalem—Yr Iesu yn enyn tân ysbrydol ar y ddaear.*

---

A'R Iesu a aeth i fynydd yr Olewydd. Nid oedd ganddo dŷ iddo ei hun, er mai trwyddo y crewyd y nef a'r ddaear. Da fuasai iddo gael gorphwyso ar ol llafur y dydd. Diamheu ei fod yn teimlo yn flinedig, wedi bod yn llefain yn y dyrfa ar y bobl i dd'od ato. Nid oedd neb yn Jerusalem yn barod i roddi llety noswaith i Frenin y brenhinoedd ac Arglwydd yr arglwyddi. Pe buasai ganddo gyfaill yn Jerusalem, ni feiddiai roddi lle iddo i roddi ei ben i lawr am ychydig oriau. Cafodd yr Iesu letygarwch Jerusalem mewn ystâd hynod o isel. Dywed yr hanes iddo fyned i fynydd yr Olewydd. Pa un ai gyda chyfaill iddo, ai yn Bethania, ai mewn pabell godwyd gogyfer a'r wyl, ai mewn gweddi at ei Dad, y treuliodd efe y nos hon ar derfyn yr wyl, nis gellir penderfynu. Hynod o brin ydyw yr hanes a roddir i ni gan ysbrydoliaeth am ei gysuron daearol; a phrin iawn, debygem, oedd ei gysuron tymhorol. Hunanymwadiad er mwyn ereill ydyw llinell fawr ac amlwg ei hanes ef.

GALW EI WRTHWYNEBWYR I LYS EU CYDWYBOD.

Bore dranoeth daeth drachefn i'r deml i ddysgu y bobl, oherwydd yr oedd yno lawer heb adael y ddinas ar ol yr wyl. Ceisiodd ei elynion ei ddarostwng a'i waradwyddo trwy osod ger ei fron yr hon a ddaliesid mewn godineb. Dywedasant wrtho, "Athraw, y wraig hon a ddaliwyd yn y weithred yn godinebu. A Moses yn y gyfraith a orchymynodd i ni labyddio y cyfryw. Beth gan hyny yr wyt yn ei ddywedyd?" Tybient gan ei fod mor drugarog wrth bawb a geisiai ganddo, a bod cymaint o son am ei drugaredd trwy y wlad, y buasai llabyddio y wraig hon i farwolaeth trwy ei orchymyn ef yn darostwng ei gymeriad trugarog yn y wlad; ac y buasai trugarhau wrthi yn drosedd yn erbyn cyfraith Moses. Gofynai y gyfraith hono roddi y cyfryw i farwolaeth trwy eu llabyddio â meini. Amlwg yw eu bod dan arweiniad eu tad yn yr ymosodiad hwn arno, fel yn eu hymosodiadau cyffredin ar ein Gwaredwr. Temtiai y diafol ein Hiachawdwr trwy y dynion hyn. Gwna ddefnydd mynych o ddynion. Gall wneyd mwy trwy waed a chnawd na thrwy ysbrydion noethion. Ysgrifenodd yr Iesu â'i fys ar y ddaear, heb gymeryd arno eu clywed, ond parhau i ofyn yr oeddynt. Llawer o ddyfalu sydd wedi bod beth oedd efe yn ei ysgrifenu ar y ddaear. Dywed rhai mai ysgrifenu y geiriau a ddywedodd wrthynt yr oedd ef y waith gyntaf, a'r ail waith mai ysgrifenu yr oedd efe fod edifeirwch yn arwain i faddeuant, neu fod maddeuant i'w gael i'r edifeiriol. Nis gellir penderfynu, am na ddatguddiwyd i ni. "Dywedodd wrthynt, Yr hwn sydd ddibechod ohonoch tafled yn gyntaf gareg ati hi." Gwysiodd ei orchymyn ef hwynt gerbron eu cydwybodau eu hunain. Diau i'r wraig ofni pan glywodd hi ei orchymyn ef; ond ni fuasai raid iddi ofni i'r cerig ddisgyn arni, oherwydd yr oedd efe yn

adnabod eu calonau, a'u meddyliau, a'u cymeriadau. Gall dynion broffesu moesoldeb uchel gerbron dynion, ac eto mor anfoesol a llygredig a neb yn ngolwg Duw. Ysgrifenodd drachefn ar y ddaear. Trwy ei orchymyn fe aeth goleuni i gydwybod pob un ohonynt, a galwodd eu cydwybod hwy i'w llys ei hun, a chondemniwyd pob un yn llys ei gydwybod, ac aethant allan o un i un, gan ddechreu o'r hynaf hyd yr olaf. Gadawyd yr Iesu yn unig, a'r wraig yn sefyll yn y canol. Nis gallent aros yn ei wyddfod wedi cael eu condemnio. Wele ddau beth hynod wedi aros, medd Augustine, Trueni a Thrugaredd. Yr oedd y trueni yn ddwfn, ond yr oedd trugaredd yn ddyfnach. "Ha wraig," gofynodd, "pa le y mae dy gyhuddwyr? oni chondemniodd neb di?" "Naddo neb, Arglwydd," atebodd. Yr oedd ei hatebiad yn awgrymu edifeirwch ac ymostyngiad gerbron ei drugaredd. Taflodd ei hun o'i flaen am drugaredd. Gwelodd ynddo lymder yn erbyn pechod, a gwelodd ynddo hefyd dosturi a thrugaredd ddigonol. Dywedodd yr Iesu wrthi, "Nid wyf finau yn dy gondemnio di: dos ac na phecha mwyach." Rhyddhaodd hi oddiwrth ei phechodau trwy eu maddeu, a dywedodd yn effeithiol wrthi, "Dos ac na phecha mwyach." Mae efe yn abl i ladd y bai a bywhau y pechadur. Medr efe gadw y gyfraith a chadw y troseddwr hefyd. Mae ei drugaredd faddeuol yn mawrhau y gyfraith, a'i gwneyd hi yn anrhydeddus, nid trwy gosbi y troseddwr, ond trwy ei godi i fyny â'r gyfraith, a'i fforddi i gadw y gyfraith yn ei fywyd. Y gair diweddaf a ddywedodd efe wrth y bechadures hon yw, "Dos, ac na phecha mwyach."

"Goleuni y byd ydwyf fi."—Ioan viii. 12.

Dysgodd yr Iesu am dano ei hun fel bara y bywyd ac fel dyfroedd y bywyd. Yma llefara am dano ei hun fel goleuni y byd, a'r unig oleuni sydd yn arwain i'r bywyd

tragywyddol. Yr oedd yn y trysordy lle yr oedd efe yn llefaru ddau bost euraidd, ar y rhai yr oedd amryw lampau, y rhai a oleuid ar ol yr aberth prydnhawnol bob dydd yn ystod yr wyl, ac o amgylch y rhai y dawnsiai y bobl gan lawenydd; oherwydd gwyl o lawenydd ydoedd gwyl y pebyll. "Goleuni y byd ydwyf fi," medd yr Iesu. Efe ydyw gwir oleuni y byd. Nid ydoedd pob goleuni ond cysgod ohono ef. Nid oes fywyd heb oleuni, ac nid oes wir fywyd heb wir oleuni. Yn nyfodiad Iesu Grist i'r byd cyfododd Haul y cyfiawnder a meddyginiaeth yn ei esgyll. "Chwi yw goleuni y byd," meddai wrth ei ddysgyblion. Y mae ei bobl yn oleuni y byd trwy eu hundeb âg ef, Haul y cyfiawnder. Y mae ein Gwaredwr yn wir oleuni y bywyd. "Y neb a'm dilyno i," meddai, "ni rodia mewn tywyllwch; eithr efe a gaiff oleuni y bywyd." "Goleua efe lwybr y cyfiawn, yr hwn a lewyrcha fwy-fwy hyd ganol dydd." Wele oleuni sydd yn arwain i fywyd tragywyddol.

GWEITHREDOEDD YN PROFI PERTHYNAS.

Dywedai yr Iuddewon mai tystiolaethu am dano ei hun yr oedd efe; gan hyny, nid oedd ei dystiolaeth yn wir. Dywed efe fod y Tad hefyd yn tystiolaethu am dano ef. Chwychwi, meddai, sydd oddi isod, minau sydd oddi uchod; chwychwi sydd o'r byd hwn, minau nid ydwyf o'r byd hwn. Uchel a gau ydoedd eu honiadau, ac isel a llygredig oedd eu natur a'u gweithredoedd. Llefarai wrth ei elynion er mwyn dysgu iddynt y gwirionedd, a'u harwain o'r tywyllwch i'r goleuni, ac o feddiant Satan i'w deyrnas ei hun. "Ein tad ni," meddent, "yw Abraham." "Pe plant Abraham fyddech," meddai, "gweithredoedd Abraham a wnaech." Y mae perthynas rhwng tad a phlant yn d'od i'r golwg yn ngweithredoedd y plant. Yr ydych chwi yn ceisio fy lladd i; hyn ni wnaeth Abraham. "Gorfoledd oedd gan

eich tad Abraham weled fy nydd i, ac efe a'i gwelodd, ac a lawenychodd." Un Tad sydd i ni, meddent, sef Duw. Pe Duw fyddai eich Tad, meddai, chwi a'm carech i. Dyma y gwirionedd am danoch, "O'ch tad diafol yr ydych chwi, a thrachwantau eich tad a fynwch chwi eu gwneuthur." Y mae eich gweithredoedd yn tystiolaethu mai ei blant ef ydych chwi. A phan fynegodd ef y gwirionedd, "Cyn bod Abraham yr wyf fi," codasant gerig i'w taflu ato ef. Ymguddiodd yr Iesu, ac aeth allan o'r deml.

### CARIAD A THRUGAREDD.

Daeth rhyw gyfreithiwr ato, gan ei demtio ef, a dywedyd, "Athraw, pa beth a wnaf i gael etifeddu bywyd tragywyddol." Gofynodd yr Iesu iddo, "Pa beth sydd ysgrifenedig yn y gyfraith? Pa fodd y darlleni? Dywedodd y cyfreithiwr, Ti a geri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl nerth, ac â'th holl feddwl, a'th gymydog fel ti dy hun. Yntau a ddywedodd wrtho, Ti a atebaist yn uniawn; gwna hyn a byw fyddi. Eithr efe yn ewyllysio ei gyfiawnhau ei hun a ofynodd, A phwy yw fy nghymydog?" Llefara yr Iesu ddameg i ddysgu iddo fod ystyr ddyfnach i garu cymydog nag a roddid ganddynt hwy, yr offeiriaid a'r Lefiaid. Yn y ddameg, "rhyw ddyn oedd yn myned i waered o Jerusalem i Jericho; ac a syrthiodd yn mysg lladron, y rhai wedi ei ddiosg ef, a'i archolli, a aethant ymaith, gan ei adael yn haner marw." Daeth offeiriad heibio y ffordd hono, a phan welodd ef y dyn wedi ei archolli, efe a aeth heibio yr ochr arall i'r ffordd. A'r un ffynud y Lefiad a ddaeth y ffordd hon, aeth yntau heibio heb drugarhau wrth y dyn oedd wedi ei adael yn haner marw. "Eithr rhyw Samariad, wrth ymdaith, a ddaeth ato ef; a phan ei gwelodd, a dosturiodd;" ac yr oedd ei dosturi yn cynwys ymgeledd briodol i'r dyn

archolledig: gwnaeth ei oreu iddo, ac nid ei basio fel yr offeiriad a'r Lefiad ffurfiol. Yr ydych chwi yn edrych i lawr ar y Samariaid, ond y mae y Samariad hwn yn cadw ac yn gwneyd y gyfraith yn well na'r offeiriad a'r Lefiad, y rhai sydd yn proffesu eu bod yn gofalu ac yn cadw y gyfraith, ond heb ei chadw mewn gweithredoedd. Y mae caru yn golygu, nid yn unig gweithredu yn gyfiawn, ond hefyd drugarhau pan y mae angen am drugaredd. "Pwy gan hyny," gofynodd yr Iesu iddo, "o'r tri hyn yr ydwyt ti yn tybied ei fod yn gymydog i'r hwn a syrthiasai yn mhlith y lladron? Ac efe a ddywedodd, Yr hwn a wnaeth drugaredd âg ef." Nid oedd yr un ateb arall i'w roddi, er ei fod yn ateb yn erbyn eu bywyd ymarferol hwy. "Dos," meddai wrtho, "a gwna dithau yr un modd." Y mae yn dra thebyg nad anghofiodd y cyfreithiwr hwn y wers a gafodd ef gan yr Iesu yr adeg hon.

### YN NHY MAIR A MARTHA.

Ar ei ymdaith daeth i Bethania. Derbyniodd Martha ef i'w thŷ. "Ac i hon yr oedd chwaer a elwid Mair, yr hon hefyd a eisteddodd wrth draed yr Iesu, ac a wrandawodd ar ei ymadrodd ef." Yma cawn ei hanes yn myned i mewn at y teulu crefyddol a charedig yn Bethania, a rhydd yr hanes olwg i ni ar y gwahaniaeth a all fod rhwng y teulu a'u gilydd. Y mae yn ymddangos fod gofal y tŷ yn benaf yn gorphwys ar Martha, gan hyny yr oedd hi yn trafferthu o angenrheidrwydd, a Mair yn fwy tawel yn gadael y cyfrifoldeb arni hi. Pan yr aeth yr Iesu i'r tŷ gwnaeth Mair y defnydd goreu o'r adeg trwy eistedd wrth draed yr Iesu i wrando ei ymadrodd, ac am hyn y mae yr Iesu yn ei chanmol. Yr oedd Martha yn ffwdanus yn nghylch llawer o wasanaeth. Ceisiai Martha ei barchu trwy roddi y croesaw goreu a allasai iddo. Dywedodd wrtho, "Arglwydd,

onid oes ofal arnat am i'm chwaer fy ngadael i fy hun i wasanaethu? dywed wrthi gan hyny am fy helpio." Ond trodd yr Iesu i geryddu Martha, nid am ei chroesaw iddo, ond am ei bod hi yn cymeryd gormod o drafferth i'w groesawu. "Martha, Martha," meddai, "gofalus a thrafferthus wyt yn nghylch llawer o bethau." Ni raid i ti fyned i gymaint o drafferth i geisio llawer o bethau. "Eithr un peth sydd angenrheidiol." Un ddysgliad sydd ddigonol, meddai Matthew Henry. Y mae un peth yn ddigonol: paid trafferthu i gael amrywiaeth. Gelli wneyd gwell defnydd o'm harosiad yma trwy wneyd fel Mair: "A Mair a ddewisodd y rhan dda, yr hon ni ddygir oddiarni." Cymer lai o drafferth i arlwyo y bwrdd, ac eistedd gyda Mair i wrando ar fy ymadrodd.

### TAERINEB MEWN GWEDDI.

Llefarodd ddameg i roddi gwers adnewyddol i'w ddysgyblion ar weddio, a gwerth taerineb mewn gweddi. Dywed am un yn myned at ei gyfaill ganol nos i geisio tair torth yn echwyn. Llwyddodd gyda'i gyfaill, nid oherwydd ei fod yn gyfaill iddo, ond oherwydd ei daerineb. Yr hyn a'i gwnaeth yn daer oedd, fod cyfaill iddo wedi d'od i dalu ymweliad âg ef, ac nid oedd ganddo ddim i'w ddodi ger ei fron; ac oherwydd ei daerni ac nid oherwydd ei fod yn gyfaill iddo, y gwrandawodd ar ei gais. Trwy weddi daear ni a lwyddwn i dderbyn pobpeth ag y mae arnom wir angen am dano. "Gofynwch," meddai wrthynt, "a rhoddir i chwi; ceisiwch, a chwi a gewch; curwch, ac fe agorir i chwi." Y mae parodrwydd y Tad i roddi yn cymhell i fod yn daer mewn gweddi. Yr ydych chwi, meddai, y rhai ydych ddrwg, yn medru rhoddi "rhoddion da i'ch plant chwi; pa faint mwy y rhydd eich Tad o'r nef yr Ysbryd Glân i'r rhai a ofynant ganddo," neu, "bethau da," yn

ol Matthew. Trwy gael yr Ysbryd Glân ni gawn dangnefedd, ni gawn arweiniad, ni gawn galon bur a chymeriad pur; ni gawn ddynion da ond i ni gael yr Ysbryd Glân.

RHODDI GOLWG I UN A ANESID YN DDALL.

"Ac wrth fyned heibio, efe a ganfu ddyn dall o'i enedigaeth." Yma cyflawnodd yr Iesu wyrth i gadarnhau y gwirionedd am dano ei hun fel goleuni y byd trwy roddi golwg i un a anesid yn ddall. Gwnaeth ddefnydd o foddion yn nghyflawniad y wyrth hon; a rhoddodd le i'r dall i wneyd ei ran yn y waredigaeth a dderbyniodd. Gwnaeth glai o'r poeryn, ac irodd ei lygaid â'r clai, a gorchymynodd iddo fyned i lyn Siloam, ac ymolchi; a phan yr ufuddhaodd i orchymyn yr Iesu, fe ddaeth i weled.

Parodd y wyrth hon ymholiad cyffredinol, ac amrywiol syniadau yn mysg ei gymydogion. Yr oedd y cyfnewidiad arno mor fawr fel y gofynai rhai, "Onid hwn yw yr un oedd yn eistedd, ac yn cardota? Rhai a ddywedasant, Hwn yw efe: ac ereill, Y mae efe yn debyg iddo." Terfynodd efe y ddadl hon trwy ddyweyd, "Myfi yw efe." Yr ymholiad nesaf oedd, "Pa fodd yr agorwyd dy lygaid di?" Er nad oedd efe yn adnabod Iesu Grist yr oedd profiad o'i waredigaeth wedi argraphu yn ddwfn ar ei feddwl ffordd y waredigaeth, ac wedi rhoddi nerth ynddo i draethu yn eofn y gwirionedd. Dywedodd, "Dyn a elwir Iesu a wnaeth glai, ac a irodd fy llygaid i, ac a ddywedodd wrthyf, Dos i lyn Siloam, ac ymolch; ac wedi i mi fyned ac ymolchi, mi a gefais fy ngolwg." Y mae tystiolaeth profiad o waredigaeth yn gywir, sicr, a sefydlog. Rhyfedd na fuasai rhoddi golwg i un a anesid yn ddall yn lladd eu gelyniaeth a'u rhagfarn yn ei erbyn, a'u perswadio i'w dderbyn fel y Messiah addawedig. Oherwydd eu dallineb ysbrydol ni fynent weled.



[LLYN SILOAM.]

Dygasant y dyn a gafodd ei olwg at y Pharïseaid, gan ddisgwyl y buasai ei ddwyn o flaen yr awdurdodau eglwysig yn peri iddo ofni a newid ei dystiolaeth. Safodd yn gadarn i fynegi ei dystiolaeth o flaen y cynghor. Pa fodd y cefaist dy olwg? gofynodd y Phariseaid iddo. "Clai a osododd efe ar fy llygaid," ebe fe, "a mi a ymolchais, ac yr ydwyf yn gweled." Cryfhau y dystiolaeth yr oedd efe wrth gael ei holi; ond gallem feddwl ei fod yn blino arnynt yn gofyn yr un peth lawer gwaith. Y mae amheu dyn yn dyweyd y gwir yn ei archolli yn fawr; yr oedd gofyn iddo fwy nag unwaith yn awgrymu amheuaeth am ei dystiolaeth. Beth ydyw dy farn di am dano? gofynent. Yr wyf fi yn meddwl mai prophwyd yw efe, atebai. Gwelsant mai gwell oedd troi i rywle arall, a galwasant ar ei rieni ger eu bron. Pobl gyffredin ac ofnus ydoedd ei rieni, a hynod o wasaidd i'r awdurdodau: ofnent y canlyniadau o gael eu bwrw allan o'r synagog. Wedi mynegi mai efe oedd eu mab hwy, ac mai'n ddall y ganwyd ef, dywedasant, "Y mae efe mewn oedran; gofynwch iddo ef."

Dylasai ei rieni fod yn gryfach na hyn i dystiolaethu dros y gwirionedd wedi gweled y fath waredigaeth yn eu mab. Y mae pobl weiniaid ac ofnus i sefyll dros y gwirionedd i'w cael bob amser yn y byd; gwell ganddynt wenieithio i'r gau na sefyll dros y gwir: ond yr oedd yr hwn a gafodd ei olwg ac a brofodd y waredigaeth yn ymgadarnhau dros y gwir ac yn erbyn y gau. "Yn hyn yn ddiau y mae yn rhyfedd," ebe fe, "na wyddoch chwi o ba le y mae efe, ac efe a agorodd fy llygaid i. Ni chlybuwyd erioed agoryd o neb lygaid un a anesid yn ddall. Oni bai fod hwn o Dduw, ni allai efe wneuthur dim." "A hwy a'i bwriasant ef allan."

Tra yn sefyll dros y gwir ac yn erbyn y gau, cafodd gyfarfyddiad â'r Iesu yr ail waith. Yn y cyfarfyddiad

cyntaf â'r Iesu derbyniodd ei olwg naturiol, ac yn yr ail gyfarfyddiad âg ef derbyniodd ei olwg ysbrydol. Gofynodd yr Iesu iddo, "A wyt ti yn credu yn Mab Duw?" "Pwy yw efe, O Arglwydd, fel y credwyf ynddo?" gofynai yntau. "A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Ti a'i gwelaist ef; a'r hwn sydd yn ymddiddan â thi, hwnw ydyw efe. Yntau a ddywedodd, Yr wyf fi yn credu, O Arglwydd. Ac efe a'i haddolodd ef."

### Y BUGAIL DA.

Daeth yr Iesu i'r byd i farnu. Yr oedd y deillion yn dod i weled, a'r rhai a broffesent eu bod yn gweled yn myned yn ddeillion. "I farn y daethum i'r byd hwn," dywedai, "fel y gwelai y rhai nid ydynt yn gweled, ac yr elai y rhai sydd yn gweled yn ddeillion." Proffesai penaethiaid yr Iuddewon eu bod yn gweled, gan hyny proffesent eu bod yn meddu cymhwysder i arwain ereill ar y ffordd dda; ond tywysogion deillion oeddynt yn arwain deillion. Tuagat i ni fod yn feddianol ar gymhwysder i arwain ereill, eb efe, mae yn rhaid i ni fod yn feddianol ar wir oleuni ein hunain: i wneyd daioni i ereill rhaid i ni fod yn dda ein hunain; nid ydyw honiadau uchel yn ddigonol, rhaid i ni fod ein hunain yn dda i arwain ereill. "Yn wir, yn wir meddaf i chwi, yr hwn nid yw yn myned i mewn trwy y drws i gorlan y defaid, eithr sydd yn dringo ffordd arall, lleidr ac ysbeiliwr yw." "Myfi yw drws y defaid." "Myfi yw y bugail da." Y mae efe yn ddrws y defaid, ac y mae efe hefyd yn ddrws i'r bugail o dano ef,—y Pen Bugail. "Os ä neb i mewn trwof fi, efe a fydd cadwedig; ac efe a ä i mewn ac allan, ac a gaiff borfa." Y mae myned i mewn trwy Grist yn angenrheidiol i gorlan y defaid tuagat fod yn bobl iddo ef; a'r bobl sydd yn myned i mewn trwy y drws—trwy Grist—sydd hefyd yn gymhwys i arwain ereill i fewn ac allan i gael porfa; ac nid

neb arall. Nid ydyw yn ddiogel canlyn neb os nad ydyw wedi myned i mewn i'r eglwys trwy Grist: yr arweinwyr a esgynant i arwain trwy Grist ydyw y gwir arweinwyr.

"Myfi," ebe fe, "yw y bugail da; y mae ei gariad wedi ei egluro trwy iddo roddi ei einioes ei hun drosom: "y bugail da sydd yn rhoddi ei einioes dros y defaid." Yn hyn y mae efe wedi dangos ei anfeidrol ragoriaeth ar bawb. Ei gariad a'i hunan-aberth ydyw sail ei ofal am danynt a ffynhonell eu bywyd a'u cysuron. "Y mae y gwas cyflog yn ffoi, oblegid mai gwas cyflog yw, ac nid oes ofal arno am y defaid." Nid oes ynddo gariad ac aberth; ond y mae cariad y Bugail Da mor fawr fel y mae Duw yn ei ganmawl; a chymaint ydyw ei aberth a'i gariad nes iddo aberthu ei hun drosom ni. Fe roddodd ei hunan drosom: "yr hwn a'n carodd ac a'i dodes ei hun drosom ni." Lefel ei gariad tragywyddol ydyw y weithred fawr o aberthu ei hun: ni bydd angen iddo aberthu ei hun drosom mwy; y mae y gwaith mwyaf wedi ei orphen a'i berffeithio, ond y mae ei gariad yr un i ofalu ac arwain i'r borfa fras. Y mae eangder dwyfol yn ei gariad a'i aberth. "A defaid ereill sydd genyf," meddai, "y rhai hyny hefyd sydd raid i mi eu cyrchu." O'i gariad y mae efe yn eu dwyn i'w adnabod ef: "A'm llais i," meddai, "a wrandawant;" oblegid y maent yn adnabod ei lais. Y mae y Bugail Da i'w adnabod wrth ei lais; y mae y bobl sydd wedi adnabod ei lais yn ei ganlyn ef i fewn ac allan. Llanwodd y nefoedd âg Iawn. Trwy hyn boddlonodd y Tad: "Am hyn y mae y Tad yn fy ngharu i, am fy mod yn dodi fy einioes fel y cymerwyf hi drachefn;" a chan iddo aberthu ei hun drosom yn wirfoddol, y mae efe yn ewyllysgar bob amser i gyflawni anghenion ei bobl, y rhai sydd yn credu ynddo ac yn disgwyl wrtho. Y mae gwirfoddolrwydd gweithred fawr ei gariad yn yr adnod hon: "Nid

oes neb yn ei dwyn oddiarnaf fi, ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr ohonof fy hun. Y mae genyf feddiant i'w dodi hi i lawr, ac y mae genyf feddiant i'w chymeryd hi drachefn. Y gorchymyn hwn a dderbyniais i gan fy Nhad." Y mae efe wedi marw yn wirfoddol. Parod ac ewyllysgar ydyw efe gan hyny i ofalu am ei bobl yn eu holl ofalon.

### YR IESU YN Y GYSEGR-WYL.

"Efe a ddaeth i'r gysegr-wyl yn Jerusalem, a'r gauaf oedd hi;" a rhodiai yn y cysgod rhag y gwlaw yn mhorth Solomon. Yn ei ymddiddan â'r Iuddewon rhydd arbenigrwydd ar gredu ynddo i ddeall ei eiriau a'i ddysgeidiaeth ef. "Pa hŷd," gofynent, "yr wyt yn peri i ni amheu? os tydi yw y Crist, dywed i ni yn eglur." "Mi a ddywedais i chwi," meddai, "ac nid ydych yn credu: y mae y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur yn enw fy Nhad yn tystiolaethu am danaf fi; ond nid ydych yn credu." Mynent aros mewn dallineb ysbrydol trwy dwyll pechod. "Nid ydych o'm defaid i," meddai, "y mae fy nefaid i yn gwrando ar fy llais i." Yr ydwyf yn rhoddi fy rhoddion mwyaf gwerthfawr i'm pobl, y rhai sydd yn gwrando ar fy llais; ac yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol, a diogel ydynt yn fy llaw i, ac yn llaw fy Nhad i: llaw mewn llaw, a phob llaw yn ddwyol, ac yn gylch o ddiogelwch am fywyd un o fy mhobl i.

Oherwydd iddo ddywedyd "Myfi a'r Tad un ydym," cododd yr Iuddewon gerig drachefn i'w labyddio ef. Gofynodd: Gwnaethum lawer o weithredoedd o drugaredd yn eich plith; am ba un o'r gweithredoedd yr ydych yn fy llabyddio i? "Onid yw yn ysgrifenedig yn eich cyfraith chwi, Mi a ddywedais, Duwiau ydych?" Os dywedodd efe hyn am y rhai a dderbyniasant air Duw: os dywedodd efe hyn am y bobl a gododd efe i lywodraethu, ac arwain, a mynegu ei ewyllys i bobl

Israel, a ddywedwch chwi am yr hwn a sancteiddiodd y Tad, yr hwn a anfonodd efe i'r byd i geisio a chadw y colledig, Yr wyt ti yn cablu, am i mi ddywedyd, Mab Duw ydwyf? Ga dewch i'm gweithredoed dystiolaethu fod y Tad ynof fi a minau ynddo yntau. Yr oedd efe yn gynefin â chael ei wrthod gan benaethiaid y bobl. Ceisiasant ei d dal; ond gan na ddaeth ei awr ef eto, efe a ddiangodd o'u dwylaw hwynt. Pan yr oedd Galilea a Jerusalem yn cau yn ei erbyn, yr oedd Perea ganddo, yr ochr ddwyreiniol i'r Iorddonen, i droi ei wyneb iddo, er mwyn cael llonyddwch i gyflawni ei waith cyn dioddef ohono. Yr oedd y lle hwn, yn ddiau, yn gysegredig yn ei olwg, oherwydd yr oedd Ioan wedi bod yma yn cyflawni ei weinidogaeth. Tynai y bobl ato i ba le bynag yr elai. Y mae rhyw swyn nefol yn ein Gwaredwr i dynu y bobl ato ei hun. Llawer a ddaethant ato yn Perea, a gwelsant ynddo gyflawniad o brophwydoliaeth Ioan. Eu tystiolaeth oedd fod yr holl bethau a ddywedodd Ioan am yr Iesu yn wir. Yr oedd gweled cyflawniad o brophwydoliaeth Ioan ynddo ef yn cael effaith ddaionus arnynt: "A llawer a gredasant ynddo."

# PENOD XIII.

---

*Yr Iesu yn Bethania, yn adgyfodi Lazarus—Cynghor yr Iuddewon yn ei erbyn—Yn dysgu ei ddysgyblion i ochel surdoes y Phariseaid—I ofni Duw yn fwy na dynion—I gredu yn ngofal y Tad am danynt—Y Gwaredwr yn gwrthod barnu achos bydol ar gais bydolddyn—Yn llefaru dameg yr amaethwr bydol—Yn cynghori ei ddysgyblion i beidio rhagofalu am bethau tymhorol.*

---

## CYFODI LAZARUS.

"A hoff oedd gan yr Iesu Martha, a'i chwaer, a Lazarus."—IOAN xi. 5.

DANGOSODD y teulu yn Bethania garedigrwydd i'r Iachawdwr mewn adeg yr oedd yn brofiadol o gael ei wrthod a'i ddirmygu gan lawer. Hyfryd iawn iddo, mewn adeg o wrthwynebiad a gwrthodiad, ydoedd derbyniad a chroesaw teulu Bethania. Pan yr oedd pob drws yn gauedig iddo yn Jerusalem, yr oedd drws agored iddo yn Bethania. Prin ydyw cyfeillion a charedigrwydd mewn adeg o wrthwynebiad a darostyngiad. Yr oedd gan Job gyflawnder o gyfeillion pan oedd yr heulwen yn tywynu ar ei lwybrau, ond yn ei dlodi a'i ddarostyngiad trodd ei gyfeillion yn gysurwyr gofidus iddo. Profodd yr Iesu, mewn adeg o wrthwynebiad, deulu Bethania yn ffyddlawn a charedig iddo. Yr oedd y teulu hwn wedi ei adnabod ac yn ei garu; ac eglurent eu cariad ato trwy ei groesawu i'w tŷ. Hoffai y teulu hwn; teimlai yn gartrefol gyda hwynt, a rhoddodd amlygiad o'i gariad at y teulu, ac o ddwyfoldeb ei

Berson a'i anfoniad gan y Tad, trwy adgyfodi eu brawd Lazarus o'r bedd. Anfonodd y ddwy chwaer genad at yr Iesu i Perea, i fynegu iddo fod yr hwn oedd yn hoff ganddo yn glaf. Yn groes i ddisgwyliad y chwiorydd, arhosodd yr Iesu lle yr oedd ddau ddiwrnod. Disgwylient iddo ddyfod yno gyda'r genad a anfonasant. Yr oedd Martha a Mair yn meddwl na ddaethai marwolaeth i'r tŷ na'r gymydogaeth pe buasai ef yno. Yr oedd efe mor llawn o fywyd fel y credent nas gallai marwolaeth deyrnasu yn yr un man âg ef. Dywedodd Martha, "Arglwydd, pe buasit ti yma, ni fuasai farw fy mrawd." Dywedodd yr Iesu eiriau i'r un perwyl wrth ei ddysgyblion yn Perea: "Bu farw Lazarus," meddai, "ac y mae yn llawen genyf fi nad oeddwn i yno, er eich mwyn chwi, fel y credoch; ond awn ato ef."

Cyfeiriasant tua Bethania, a chyn cyrhaedd y lle clybu Martha ei fod ef ar y ffordd, ac aeth i'w gyfarfod; ac wedi cyraedd ato dywedodd, "Arglwydd, pe buasit ti yma ni buasai farw fy mrawd." "Adgyfodir dy frawd drachefn," meddai wrthi. "Mi a wn," meddai Martha, "yr adgyfodir ef yn y dydd diweddaf." Atebodd yr Iesu, "Myfi yw yr Adgyfodiad a'r Bywyd; yr hwn sydd yn credu ynof fi, er iddo farw a fydd byw; a'r hwn sydd yn fyw ac yn credu ynof fi, ni bydd marw yn dragywydd." Wele eiriau cysurlawn yn nghymydogaeth angeu a'r bedd. Ond gruddfan ac wylo y mae yr Iesu! Ni wyddai y chwiorydd eu bod yn ymddiddan â'r Adgyfodiad a'r Bywyd, er eu bod yn credu yn yr adgyfodiad yn y dydd diweddaf. Gruddfanodd yr Iesu yn yr ysbryd, a gofynodd, "Pa le y dodasoch ef?" Dywedasant, "Tyred a gwel." Dacw yr Adgyfodiad a'r Bywyd yn cyfeirio at fedd ei gyfaill hoff. Ar y ffordd at y bedd dangosodd ei fod yn feddianol ar ddynoliaeth dyner: "Yr Iesu a wylodd." Ni raid i neb gywilyddio wrth golli dagrau tra yn cyfeirio at fedd un anwyl ganddo—

"Yr Iesu a wylodd." Dangos gwendid a chaledwch, ac nid nerth a rhinweddau y ddynoliaeth, y mae gallu myned trwy ddyffryn galar heb golli dagrau. Gorchymynodd yr hwn oedd yn wylo iddynt symud ymaith y maen. Gofynai iddynt hwy wneuthur yr hyn a allent. Yr oeddynt hwy yn abl i dreiglo ymaith y maen. Hawdd y gallasai yr Iesu symud y hwnw; ond mwy cydweddol â'i drefn oedd gorchymyn iddynt hwy symud ymaith y maen, er mwyn eu dwyn i gredu ac ufuddhau. Ar lwybr ufudd-dod iddo y mae i ni weled ei ryfeddodau. Dangosodd yr Iesu yma ei undeb â'r Tad trwy godi ei olwg i fyny a gweddïo arno, gan ddiolch iddo am ei wrando bob amser; a gofyn iddo ei wrando yn yr amgylchiad hwn, fel y byddai i'r bobl gredu ei anfoniad ganddo ef. Y mae ei ymdrech i gyfodi y marw o'i fedd yn dechreu mewn gweddi at y Tad; ac wedi iddo weddio ar y Tad efe a lefodd â llef uchel, "Lazarus, tyred allan," a'r hwn a fuasai farw a ddaeth allan yn rhwym yn nillad y bedd. Dywedodd, "Gollyngwch ef yn rhydd, a gadewch iddo fyned ymaith." Trwy ei ryddhau o rwymau y bedd teimlent yn gartrefol gydag ef. Dangosodd trwy y wyrth hon ei allu i fywhau y meirw pan wedi syrthio yn ddwfn i lygredigaeth marwolaeth. Yr oedd Lazarus yn y bedd er's pedwar diwrnod. Ni raid anobeithio am neb ar y ddaear. I'r graddau y cyflawnai weithredoedd i ddangos ei ddwyfoldeb, a'i gyfaddasder i gyfarfod anghenion dynion, i'r graddau hyny y cynhyrfai gelyniaeth yr Iuddewon yn ei erbyn. O'r dydd hwnw allan cydymgynghorasant pa fodd y lladdent ef; gan hyny ni rodiodd yr Iesu yn amlwg yn mysg yr Iuddewon. Efe a aeth i ddinas a elwid Ephraim, yr hon a safai oddeutu ugain milldir, medd rhai, llai medd ereill, i'r gogledd o Jerusalem.

OFNI DUW YN FWY NAC OFNI DYNION.

Ei waith neillduol y dyddiau hyn oedd dysgu ei ddysgyblion. Dywedodd wrthynt pan yr oedd lluaws y bobl wedi d'od yn nghyd yn y lle hwn, "Gwyliwch rhag surdoes y Phariseaid, yr hwn yw rhagrith;" a dywed wrthynt am sefyll yn onest a chadarn i gyhoeddi y gwirionedd, er gorfod dioddef. "Fy nghyfeillion," meddai, "nac ofnwch y rhai sydd yn lladd y corph, ac wedi hyny heb ganddynt ddim mwy i'w wneuthur." Galwai hwy yn gyfeillion fel rhai a gyd-ddioddefent âg ef dros y gwirionedd. "Nac ofnwch ddynion," meddai; "ofnwch Dduw, yr hwn wedi darffo iddo ladd sydd âg awdurdod i fwrw i uffern; ïe, meddaf i chwi, hwnw a ofnwch." Mwy na chael gwyneb dynion ydyw cael gwyneb Duw; mwy ydyw cael ei wyneb a'i ofal ef na holl wrthwynebiadau ac ymosodiadau dynion. Credwch yn ngofal fy Nhad am danoch; y mae ei ofal yn fawr a chyffredinol am danoch; y mae efe yn gofalu am adar y tô, er eu bod yn hynod isel yn y farchnad: "oni werthir pump o adar y tô er dwy ffyrling?" Y mae dau i'w cael am un ffyrling, a phump am ddwy ffyrling: un yn fwy trwy brynu gwerth dwy ffyrling; ac nid oes un ohonynt mewn anghof gerbron Duw. Mwy ydyw ei ofal am danoch chwi; y mae hyd yn nod gwallt eich pen chwi yn gyfrifedig oll. Sefwch o'm ochr i, er gorfod dioddef; mi a'ch harddelaf chwi gerbron angelion Duw. Dyma fwy i chwi na chael gwynebau dynion uwchaf y byd, sef cael arddeliad y barnwr ohonoch fel ei eiddo yn y farn. Ni raid i chwi ofni sefyll o flaen llywiawdwyr ac awdurdodau. Cewch eich dysgu gan yr Ysbryd Glân, yr hwn sydd yn abl i'ch cyfarwyddo, pa fodd i lefaru ac i wneuthur yn ol ewyllys Duw.

Gwaeddodd un o'r bydolddynion arno o'r dyrfa, "Athraw, dywed wrth fy mrawd am ranu â mi yr etifeddiaeth." Ceisiai gan yr Iesu arfer ei awdurdod er

mantais fydol iddo ef. Gwrthododd ymyraeth mewn achos bydol. "Y dyn," gofynai, "pwy a'm gosododd i yn farnwr neu yn rhanwr arnoch chwi?" Bu y cais beiddgar hwn yn achlysur iddo gynghori ei ddysgyblion i ochelyd cybydd-dod a chariad at y byd.

### DAMEG YR AMAETHWR BYDOL.

Er mwyn argraphu ar feddwl y dysgyblion y cynghor i ochelyd cybydd-dod a chariad at y byd, llefarodd ddameg yr amaethwr bydol ac ynfyd. "Tir rhyw wr goludog a gnydiodd yn dda;" ac wrth weled y cnydau mor doreithiog, dechreuodd ystyried a chynllunio; gwelai nad oedd ganddo ddigon o le i gynwys y cnydau toreithiog, a daw i'r penderfyniad i dynu i lawr yr hen ysguboriau ac adeiladu rhai mwy; ac yna, wedi adeiladu rhai mwy a chasglu iddynt y cnydau, y mae yn myned i ddyweyd wrth ei enaid, "Fy enaid, y mae genyt dda lawer wedi eu rhoi i gadw dros lawer o flynyddoedd: gorphwys, bwyta, ŷf, bydd lawen. Eithr Duw a ddywedodd wrtho, O ynfyd, y nos hon y gofynant dy enaid oddiwrthyt; ac eiddo pwy fydd y pethau a barotoaist?" Ynfyd y geilw efe yr hwn sydd yn dibynu yn gwbl o ran ei enaid ar bethau y byd hwn. "Efe a dyra olud, ac nis gŵyr pwy a'i casgl." Eiddo ereill fydd y pethau a fwriadai efe eu rhoddi i'r enaid, ac ef ei hun yn dlawd heb ddim. O ynfyd, meddai yr Iesu uwch ei ben. Felly y mae yr hwn sydd yn trysori iddo ei hun, yn byw yn gwbl iddo ei hun, ac i'r byd; nid oes ganddo neb uwch nag ef ei hun i'w foddloni, ac nid yw gyfoethog tuagat Dduw; nid oes ganddo heddwch tuagat Dduw; nid oes ganddo y werthfawr ffydd; nid oes ganddo fawl na diolch nac addoliad i Dduw; y mae ei enaid ef yn wir dlawd, a'r tlodi mwyaf ydyw tlodi enaid. Pan yn gadael y byd y mae ef yn gadael y cwbl ar ei ol, ac yn disgyn i dlodi a thrueni tragywyddol.

Dywed wrthynt hefyd am ochel rhoddi eu bryd ar

fwyd a dillad, a gwylio rhag cymeryd eu blino gan bryder a rhagofal o berthynas iddynt. Y mae y bywyd yn fwy na'r bwyd, a'r corph yn fwy na'r dillad. Y mae yr hwn sydd yn porthi y brain ac yn gwisgo y lili yn gofalu am danoch mewn ystyr dymhorol. Yn hytrach na cheisio y pethau hyn, fel y mae y Cenhedloedd, ceisiwch deyrnas Dduw. Trwy geisio y deyrnas yn gyntaf chwi gewch y pethau hyn yn ychwanegol: "A'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg." Eich galwedigaeth chwi yw ceisio y pethau sydd uchod; canys rhyngodd bodd i'r Tad roddi i chwi y deyrnas: mae eich Tad wedi eich gwneyd chwi yn etifeddion teyrnas. Trysorwch yn y nef, gan hyny: dewiswch bethau y deyrnas yn drysor i chwi, yn benaf o ran gwerth yn eich bryd a'ch ymdrech. Byddwch yn effro yn fy ngwasanaeth; byddwch yn debyg i rai yn disgwyl eu Harglwydd i'w llongyfarch a'u derbyn ato ei hun, oddiwrth eu llafur at eu gwobr. "Gwyn eu byd y gweision hyny, y rhai a gaiff eu Harglwydd pan ddel yn effro." Efe a ymwregysa i weinyddu arnynt hwy yn yr amgylchiad pan y bydd pawb wedi cilio, "ac a ddaw ac a wasanaetha arnynt hwy."

Dywed, "Mi a ddeuthum i fwrw tân ar y ddaear." Dygodd i'r ddaear yr elfen uwch o fywyd ysbrydol, yr hwn sydd yn bywhau ac yn dinystrio. Y mae y tân nefol hwn yn bywhau y pethau sydd o'r un egwyddorion ag ef ei hun, ac yn dinystrio y pethau sydd yn wrthwynebol iddo. Ei fwriad yn dyfod i'r byd ydoedd dwyn y tân ysbrydol hwn i wneyd ei gartref ar y ddaear, a threiddio i galonau dynion. Y mae y tân nefol hwn yn hytrach na rhoddi heddwch yn peri ymrafael; y mae y da a'r drwg yn rhyfela yn erbyn eu gilydd yn y cysylltiadau llawnaf o gariad; y tad a ymrana yn erbyn y mab, a'r mab yn erbyn y tad; y fam yn erbyn y ferch, a'r ferch yn erbyn y fam.

# PENOD XIV.

---

*Edifeirwch yn ffrwyth manteision crefyddol—Dameg y ffigysbren diffrwyth—Yn tosturio wrth wraig mewn gwendid—Ar ei ymdaith i Jerusalem ein Harglwydd yn anog y dysgyblion i ymdrechu i fyned i mewn i deyrnas nefoedd—Cael ei rybuddio am Herod yn ceisio ei ladd ef—Jerusalem yn lladd y prophwydi—Yr Iesu yn ciniawa yn nhy y Pharisead ar y Sabbath—Yn dysgu pa fodd i ymddwyn mewn gwledd, a pha fodd i wahodd i wledd—Dameg y swper mawr—Yn dysgu fod hunan-ymwadiad ac eistedd i lawr i fwrw y draul yn angenrheidiol i'w ganlyn ef.*

---

## EDIFEIRWCH YN FFRWYTH BREINTIAU CREFYDDOL.

"Onid edifarhewch, chwi a ddifethir oll yn yr un modd. — LUC xiii. 5.

GEILW yr Iesu arnom i edifarhau am ein pechodau rhag cael ein difetha ganddynt. Yr oedd y bobl sydd yn arfer ac yn ymhyfrydu mewn cyhoeddi trychinebau, anffodion, a dinystr sydd yn cyfarfod plant dynion, yn y byd yn nyddiau ein Harglwydd, y rhai a edrychent ar y trychinebau a'r anffodion sydd yn cyfarfod plant dynion yn ganlyniad uniongyrchol pechodau y bobl sydd yn eu cyfarfod; ac ymddigrifant ynddynt eu hunain fel rhai nad ydynt yn haeddu eu cosbi fel y rhai hyn. Er mwyn cael ei farn, mynegodd rhai iddo am y Galileaid y rhai y cymysgasai Pilat eu gwaed yn nghyda'u haberthau, gan gyfeirio, y mae'n debyg, at Judas y Galilead ac ereill, y rhai, tuag ugain mlynedd cyn hyn, a godasant

yn erbyn llywodraeth Rhufain, ac a gosbwyd gan Pilat pan yn aberthu yn yr wyl yn Jerusalem. Galwodd yr Iesu hwynt adref at eu pechodau eu hunain. Onid edifarhewch, meddai, bydd eich pechodau chwithau yn sicr o'ch difetha: "onid edifarhewch, chwi a ddifethir oll yn yr un modd." Nid oes ffordd i chwi ddianc rhag cosbedigaeth eich pechodau ond trwy edifeirwch a maddeuant. Gofynodd ddau gwestiwn i'r bobl hunan-gyfiawn sydd yn wastad yn son am bechodau pobl ereill "A ydych chwi yn tybied fod y Galileaid hyn yn bechaduriaid mwy na'r holl Galileaid? Nac oeddynt, meddaf i chwi: eithr onid edifarhewch, chwi a ddifethir oll yn yr un modd. Neu y deunaw hyny ar y rhai y syrthiodd y twr yn Siloam, ac a'u lladdodd hwynt: a ydych chwi yn tybied eu bod hwy yn bechaduriaid mwy na'r holl ddynion oedd yn cyfaneddu yn Jerusalem? Nac oeddynt, meddaf i chwi: eithr onid edifarhewch, chwi a ddifethir oll yn yr un modd." Heb edifeirwch yn ffrwyth eich manteision crefyddol, tori i lawr fel prenau diffrwyth fydd y diwedd.

Yma i gadarnhau y gwirionedd am y perygl yr oedd y genedl ynddo llefarodd ddameg y ffigysbren diffrwyth. Nid oeddynt yn edifarhau am eu pechodau, ac nid oeddynt yn dwyn ffrwythau addas i edifeirwch. Yr oedd y ffigysbren yn y ddameg wedi ei blanu yn y winllan. Daeth arglwydd y winllan i geisio ffrwyth arno, ac nis cafodd; a daeth i geisio ffrwyth ar y ffigysbren am dair blynedd ac heb gael dim. Dywedodd Arglwydd y winllan wrth y gwinllanydd, "Wele, tair blynedd yr ydwyf yn dyfod i geisio ffrwyth ar y ffigysbren hwn, ac nid ydwyf yn cael dim; torr ef i lawr; paham y mae efe yn diffrwytho y tir? Yr oedd ei ddylanwad gwenwynig yn diffrwytho y tir," ac yn rhwystro ereill i ddwyn ffrwyth. Y mae camddefnyddio breintiau crefyddol yn diffrwytho y tir.

Yr oedd gweinidogaeth Ioan, a thair blynedd o weinidogaeth ein Harglwydd, wedi estyn i'r genedl freintiau crefyddol tra rhagorol. Dyrchafwyd hwy hyd y nef o ran breintiau crefyddol. Pan y mae yr Arglwydd yn rhoddi, disgwylia ffrwyth cyfatebol; y mae ef yn gofyn ffrwyth y tair blynedd hyn, ac nid ydyw yn cael dim. Y mae y gwinllanydd yn gofyn, "Gad ef y flwyddyn hon hefyd, hyd oni ddarffo i mi gloddio o'i amgylch, a bwrw tail: ac os dwg efe ffrwyth da: onid ê, gwedi hyny torr ef i lawr." Y mae y geiriau hyn yn y ddameg yn gosod ger ein bron amynedd a chariad yr Iesu yn dadleu am arbediad y genedl a'r anychweledig, er mwyn defnyddio goruchwyliaeth ychwanegol, a'r oruchwyliaeth ddiweddaf, tuagatynt; ac os na wnant ddefnydd priodol o'r oruchwyliaeth hono, "onidê, gwedi hyny torr ef i lawr."

TOSTURIO WRTH Y WRAIG YR HON OEDD MEWN GWENDID.

Tosturiodd yr Iesu wrth wraig, yr hon oedd mewn gwendid er's deugain mlynedd, pan yn dysgu yn y synagog ar y Sabbath. Gwnai y wraig hon ymdrech wastadol i dd'od i'r synagog ar y Sabbath i addoli; ymdrechai yn ei gwendid i gadw y Sabbath ac anrhydeddu y cysegr. Felly y daeth hi i gyfarfyddiad â'r Iachawdwr, yr hwn a'i rhyddhaodd o'i gwendid. Dywedodd wrthi, "Ha wraig, rhyddhawyd di oddiwrth dy wendid. Ac efe a roddes ei ddwylaw arni: ac yn ebrwydd hi a unionwyd, ac a ogoneddodd Dduw." Dywedodd yr arch-synagogydd, oddiar ei ragrith a'i ffurfioldeb wrth y bobl, "Chwe diwrnod sydd, yn y rhai y dylid gweithio: ar y rhai hyn gan hyny deuwch, a iachâer chwi; ac nid ar y dydd Sabbath." Yr oedd efe, yr hwn sydd yn gwybod beth sydd mewn dyn, yn gweled ei ragrith a'i dwyll, a dywedodd wrtho, "O ragrithiwr." Y mae yn bosibl bod yn arch-swyddog yn eglwys Dduw

ar y ddaear ac yn arch-ragrithiwr yr un pryd; "oni ollwng pob un ohonoch ar y Sabbath ei ŷch neu ei asyn o'r preseb, a'i arwain i'r dwfr? Ac oni ddylai hon, a hi yn ferch i Abraham, yr hon a rwymodd Satan, wele ddeunaw mlynedd, gael ei rhyddhau o'r rhwym hwn ar y dydd Sabbath?"

### PERYGL CREFYDD ARWYNEBOL.

Pan yr oedd efe yn tramwyo trwy ddinasoedd a threfi, gan athrawiaethu ac ymdeithio tua Jerusalem, gofynodd un iddo, "Arglwydd, ai ychydig yw y rhai cadwedig?" Nid atebodd y cwestiwn, ond dywedodd wrthynt, "Ymdrechwch i fyned i mewn trwy y porth cyfyng." Gwnewch yr ymdrech am fyned i mewn yn ymdrech fawr eich bywyd. Gofelwch chwi am wneyd ymdrech i fyned i mewn eich hunain, gan mai yn awr yw yr amser cymeradwy. Llawer a geisiant fyned i mewn ac nis gallant, am y bydd yn rhy ddiweddar arnynt. Ymdrech ofer ydyw yr ymdrech i fyned i mewn a'r drws wedi ei gau. Nis gall y rhai sydd yn ymfoddloni ar grefydd arwynebol—ar broffes o grefydd yn unig—fyned i mewn i'r bywyd, oherwydd eu bod yn ymfoddloni ar bethau annigonol i roddi hawl a chymhwysder i fyned i mewn. Gallant dystiolaethu, "Ni a fwytasom ac a yfasom yn dy ŵydd di, a thi a ddysgaist yn ein heolydd ni;" ond ni bydd dim cyfrinach wedi pasio rhwng y bobl sydd yn ymfoddloni ar broffes o grefydd yn unig â'r Iesu ei hun. Dywed wrthynt, "Nid adwaen chwi o ba le yr ydych. Ewch ymaith oddiwrthyf, chwi weithredwyr anwiredd."

I rybuddio crefyddwyr arwynebol, dywed wrthynt yn onest ac eglur, y caent weled Abraham, Isaac, a Jacob, a'r holl brophwydi, yn nheyrnas Dduw, a hwythau wedi eu cau allan. A phan y byddant hwy wedi eu cau allan, caent weled pobl o bob cyfeiriad yn eistedd yn nheyrnas Dduw.

Gydag hunanfeddiant dwyfol y llefarodd efe wrth y Phariseaid, y rhai yn ddiau a anfonwyd gan Herod, ac a ddywedasant, "Dos allan, a cherdda oddiyma, canys y mae Herod yn ceisio dy ladd di." Atebodd yr Iesu, Dywedwch i'r cadnaw hwnw,—gwnewch yn hysbys i'r gelyn creulawn, ysglyfaethus, a dichellgar hwnw,—y byddaf heddyw ac yfory, a threnydd yn aflonyddu ar ei dylwyth ef, ac yn trugarhau wrth ddynion. I gael fy lladd yr wyf yn myned i Jerusalem. Jerusalem am ladd y prophwydi! "canys ni all fod y derfydd am brophwyd allan o Jerusalem. O, Jerusalem, Jerusalem, yr hon wyt yn lladd y prophwydi, ac yn llabyddio y rhai a anfonir atat: pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant yn nghyd, y modd y casgl yr iâr ei chywion dan ei hadenydd, ac nis mynech!"

### YN CINIAWA AR Y SABBATH YN NHY Y PHARISEAD.

"A'r Arglwydd a ddywedodd wrth y gwas, Dos allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau, a chymhell hwynt i ddyfod i mewn, fel y llanwer fy nhŷ."—LUC xiv. 23.

Darfu i un o benaethiaid y Phariseaid wahodd yr Iachawdwr i giniaw i'w dŷ ar y Sabbath. Gwahoddodd ereill hefyd er mwyn ei wylied ef. Yr oedd yr Iesu yn cael ei wylied yn fanwl gan y rhagrithwyr hyn er mwyn cael rhywbeth yn ei erbyn. Gwylient ef yma dan rith caredigrwydd yn y cylch teuluaidd. Ymddangosodd ger ei fron ddyn yr hwn oedd yn deffro ei dosturi, yr hwn oedd yn glaf o'r dropsi. Gofynodd yr Iesu i'r cyfreithwyr a'r Phariseaid, y rhai oedd yn ei wylied, "Ai rhydd iachau ar y Sabbath?" Tewi a wnaethant, er eu bod yn gyfreithwyr: nid oedd ganddynt ddim i'w ddywedyd yn ei erbyn. "Ac efe a'i cymerodd ef ato, ac a'i hiachaodd ef; ac a'i gollyngodd ef ymaith." Cauodd eu genau trwy ofyn, "Asyn neu ych pa un ohonoch a syrth i bwll, ac yn ebrwydd nis tyn ef allan ar y Sabbath?"

## Y GWERSI AR Y CINIAW.

Y mae efe yma yn ein dysgu pa fodd i ymddwyn pan y'n gwahoddir i wledd. Yr oedd gwahaniaeth neillduol yn yr eisteddleoedd yn ngwleddoedd yr Iuddewon: yr oedd rhai eisteddleoedd yn uchel, a rhai yn is. Mawr ydoedd awydd y Rabbiniaid i eistedd yn yr eisteddleoedd uchaf. Sarhad mawr a ystyriai Rabbi i un heb fod yn ei gylch ef eistedd uwchlaw iddo. Pwy sydd yn dysgu fel yr Athraw mawr? Rhydd gyfarwyddyd i ni pa fodd i ymddwyn mewn lleoedd o anrhydedd. Wele y cyfarwyddyd: Dos ac eistedd yn y lle isaf. Fel ei holl ddysgeidiaeth ef, y mae y cyfarwyddyd hwn yn myned yn erbyn balchder dynion. Y mae llygaid dynion beilchion y byd ar y cadeiriau a'r eisteddleoedd uchaf heibio i bawb, ac uwchlaw pawb. Nac eistedd, meddai, yn y lle uchaf, rhag fod yr hwn a'th wahoddodd yn meddwl yn uwch o rywun arall, nag ohonot ti, ac iddo ofyn i ti roddi dy le i hwnw, a thithau gael dy gywilyddio; canys pob un a ddyrchafo ei hun a ostyngir, a'r hwn a ostyngo ei hun a ddyrchefir. Y modd yr ymdrecha lluaws mawr o ddynolryw i ymddyrchafu ydyw trwy ddyrchafu eu hunain; ond y mae gair yr Iesu yn cael ei wirio ynddynt—a ostyngir; a dyrchefir llawer trwy ostwng eu hunain, fel y dywed efe; ond dylid gofalu fod amcan cywir i'r ymostyngiad.

## DAMEG Y SWPER MAWR.

Wedi rhoddi cyfarwyddyd i'r gwahoddedigion pa fodd i ymddwyn yn y wledd, rhydd gyfarwyddyd i'r gwahoddwyr pa fodd i wahodd. Dyma y cyfarwyddyd: "Eithr pan wnelych wledd, galw y tlodion y'r efryddion, y cloffion, y deillion: a dedwydd fyddi; am nad oes ganddynt ddim i dalu i ti: canys fe a delir i ti yn adgyfodiad y rhai cyfiawn." Ni fyddi yn dy golled

gydag egwyddorion da: fe delir i ti yn adgyfodiad y rhai cyfiawn. Bron na ddywedem fod y rheol hon yn syrthio yn amlach yn ngwleddoedd y byd hwn nag y cedwir hi. Yn fynych yn y byd y brodyr, y ceraint, a'r cymydogion goludog a wahoddir, ac anfynych y gwahoddir y tlodion, y rhai nas gallant ad-dalu. Y mae rheol a chyfarwyddyd yr Iesu yn parhau yr un o ran gwerth, ac y mae y rhai sydd wedi ei gwneuthur wedi profi ei gwerth a'i rhagoriaeth, ac wedi gwneyd trwy hyny gyfeillion o'r mammon anghyfiawn, ac wedi cael derbyniad helaeth i'r tragywyddol bebyll.

"Gwyn ei fyd y neb a fwytao fara yn nheyrnas Dduw," meddai un o'r gwahoddedigion wrth y bwrdd. Tybiai y byddai gwledd ardderchog yn y nefoedd wedi yr adgyfodiad, a pharod ydoedd i ddyweyd fel Balaam, "Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn, a bydded fy niwedd i fel yr eiddo yntau."

Dywedodd yr Iesu mewn atebiad iddo: "Rhyw wr a wnaeth swper mawr, ac a wahoddodd lawer." Fel pe dywedasai wrtho: Y mae darpariaeth a gwleddoedd yr Efengyl ar y bwrdd yn barod; y mae y gwahoddiadau wedi myned allan; y mae cyfleusdra i ti gael bwyta bara yn nheyrnas Dduw heddyw; anfonodd fy Nhad Ioan a minau i wahodd, ac anfonais inau fy nysgyblion i'ch gwahodd, ond yr ydych yn gwrthod y gwahoddiadau; yr ydych yn gwrthod ac yn diystyru anfonedig y Tad, ac yr ydych yn diystyru y gweision. Ofer ydyw i chwi ddisgwyl y diwedd da a hyfryd a ddymunwch yn y byd a ddaw tra yn gwrthod gwahoddiadau yr Efengyl heddyw.

Yn y ddameg y mae yr hwn wnaeth swper mawr yn anfon ei weision pryd swper i fynegu i'r rhai a wahoddasid, "Deuwch; canys weithian y mae pob peth yn barod. A hwy oll a ddechreuasant yn unfryd ymesgusodi." Ni ddywedodd neb o'r gwahoddedigion,

"Ni ddeuaf fi;" ond ceisiant oll ymesgusodi trwy ddyweyd fod pethau ereill ar y pryd yn galw am eu sylw blaenaf. Y mae geudeb yr esgusodion yn amlwg i ddangos anallu dyn i ddwyn esgusawd digonol dros wrthod gwahoddiadau yr Efengyl. "Mi a brynais dyddyn," meddai un, "ac y mae yn rhaid i mi fyned i'w weled." Esgusawd rhyfedd oedd myned i weled y tyddyn ar ol ei brynu. Un arall a ddywedodd, "Mi a brynais bum' iau o ychain, ac yr ydwyf yn myned i'w profi." Amlwg ydyw mai cyn eu prynu y dylasai efe eu profi. Dywedodd un arall, "Mi a briodais wraig, am hyny ni allaf ddyfod." Gofynodd un pregethwr i hwn, paham na ddeuai a'i wraig gydag ef. Y mae yma dair esgusawd yn cael eu gwneyd yn y ddameg dros wrthod y gwahoddiadau i'r swper mawr, y rhai sydd yn cynwys esgusodion dynion yn gyffredin dros wrthod gwahoddiadau yr Efengyl, y rhai ydynt gofalon y byd hwn, twyll cyfoeth, a phleserau bywyd. Gwahaniaethant yn eu hesgusodion, ond deuant i'r un penderfyniad i wrthod cynygion yr Efengyl. Dyma ydoedd hanes cenedl Israel yn amser ein Hiachawdwr yn y byd, a dyma ydyw eu hanes heddyw. Pobl ydynt "yn caru y byd yn fwy na charu Duw."

"Yna gŵr y tŷ, wedi digio." Y mae gwrthod gwahoddiadau didwyll a charedig yn taflu dirmyg ar y gŵr a wnaeth y swper mawr: y mae yn digio am y sarhad, gan ei fod wedi darparu yn helaeth, a gwahodd yn ddidwyll. Dywedodd wrth y gwas, "Dos allan ar frys i heolydd ac ystrydoedd y ddinas, a dwg i mewn yma y tlodion, a'r anafus, a'r cloffion, a'r deillion." Pobl dlodion, pechaduriaid, a thrueiniaid cenedl Israel a feddylir wrth y rhai a wahoddid yn y ddinas, y rhai adewid gan benaethiaid y genedl i ymdrybaeddu yn eu trueni. Gwnaeth y gwas fel y gorchymynodd ei arglwydd, fel y gallodd ddyweyd, "Gwnaethpwyd fel y

gorchymynaist, ac eto y mae lle." Ni ddylai ac ni fydd y tŷ heb ei lanw wedi gwneyd y fath ddarpariaeth; y mae y swper mawr yn galw ac yn cymhell i fyned allan o derfynau cenedl Israel. Gan hyny, dywed wrth ei was, "Dos allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau, a chymhell hwynt i ddyfod i mewn, fel y llanwer fy nhŷ;" a dywed hefyd na chaiff y bobl sydd yn gwrthod ei wahoddiad brofi o'i swper.

### HUNANYMWADIAD YN ANGENRHEIDIOL.

Llefarodd yr Iesu wrth y bobl a'i canlynai am yr angenrheidrwydd am hunanymwadiad i fyned i mewn i'r wledd yn y byd a ddaw. "Os daw neb ataf fi," meddai, "ac ni chasäo ei dad a'i fam, a'i wraig a'i blant, a'i frodyr a'i chwiorydd, ïe, ei einioes ei hun hefyd, ni all efe fod yn ddysgybl i mi. A phwy bynag ni ddyco ei groes, a dyfod ar fy ol i, ni all efe fod yn ddysgybl i mi." Neu fel cawn ni eiriau cyffelyb gan Matthew, "Yr hwn sydd yn caru tad neu fam yn fwy na myfi, nid yw deilwng ohonof fi; a'r neb sydd yn caru mab neu ferch yn fwy na myfi, nid yw deilwng ohonof fi." Y mae y geiriau hyn yn dysgu ei fod ef yn haeddu y flaenoriaeth ar bawb a phob peth. Ei le priodol ei hun ydyw y lle uchaf yn y galon ac yn y gweithredoedd. Trwy ymgyflwyniad llwyr a chyflawn iddo ef y mae i ni lwyddo i fyned i mewn i wlad y bywyd tragywyddol. Gydag ef ni a fyddwn yn abl i ymwadu â ni ein hunain, a chodi y groes a'i chyfrif yn goron; gydag ef byddwn yn gallu marw i ni ein hunain, a marw i'r byd, er ei fwyn ef; gydag ef ni a awn yn eofn trwy rwystrau yr anialwch i'r orphwysfa sydd eto yn ol i bobl Dduw. Rhaid gwneyd y pethau hyn i lwyddo i fyned i mewn i'r bywyd: rhaid cario y groes i gael y goron, a thristau i brofi ei llawenydd pur a thragywyddol.

## EISTEDD I LAWR A BWRW Y DRAUL.

Ar y daith olaf hon i Jerusalem dywedodd wrth y bobl am iddynt eistedd i lawr a bwrw y draul, a pheidio ei ganlyn gyda gau ddibenion. Nid oes neb ohonoch, meddai, yn ymgymeryd âg adeiladu tŵr heb eistedd i lawr a bwrw y draul a oes ganddo a'i gorpheno ; ac nid oes yr un brenin yn myned allan i ryfel heb wneyd ymholiad a oes ganddo adnoddau digonol i wynebu y gelyn. Gwnewch chwithau eistedd i lawr a bwrw y draul a oes genych olwg ar ddigon i gario allan yr ymdrech. Ni raid i chwi ymfoddloni ar lai na digon i gario allan yr ymdrech i fyned i mewn i'r bywyd tragywyddol. Y mae pobpeth angenrheidiol i'r ymdrech i'w gael yn rhad i chwi ddim ond gofyn am dano. Rhaid i chwi wneyd eich meddyliau i fyny i ymwrthod â'r hyn oll a feddwch fel y pethau blaenaf yn eich golwg, a'u colli yn hytrach na fy ngadael i, i fod yn ddysgyblion i mi. Nis gellwch fy nghael i tra y mae y pethau ereill yn uwch yn eich golwg na myfi ; ac hebof fi ni ellwch lwyddo i fyned i mewn i'r bywyd. Os caf fi y flaenoriaeth gyda chwi, byddwch yn abl i ymwadu â chwi eich hunain, a chodi y groes ; a bydd eich bywyd yn bur a gwerthfawr yn y byd.

# PENOD XV.

---

*Y Phariseaid a'r ysgrifenyddion yn grwgnach am barodrwydd ein Gwaredwr i dderbyn pechaduriaid—Yr Iesu yn llefaru tair dameg i gyhoeddi gallu a pharodrwydd Duw i gadw pechaduriaid, sef dameg y ddafad a gollasid, dameg y dryll arian, a dameg y mab afradlon—Yn dysgu pa fodd i wneyd cyfeillion o'r mamon anghyfiawn—Dameg y goruchwyliwr anghyfiawn—Yn condemnio y Phariseaid—Yn rhybuddio am y perygl i ddynion fyw iddynt eu hunain ac i'r byd hwn—Dameg y gwr goludog a Lazarus—Dameg y weddw daer—Dameg y Pharisead a'r publican.*

---

## PARODRWYDD YR IESU I DDERBYN PECHADURIAID.

"Y Phariseaid a'r ysgrifenyddion a rwgnachasant, gan ddywedyd, Y mae hwn yn derbyn pechaduriaid, ac yn bwyta gyda hwynt." —LUC xv. 2.

YR oedd geiriau, gweithredoedd, a gwahoddiadau yr Iesu yn tynu y publicanod a'r pechaduriaid ato. Deallasant fod ynddo barodrwydd anghymarol i dderbyn pechaduriaid; ac yr oeddynt wedi d'od i wybod erbyn hyn fod ynddo gyfaddasder digyffelyb i gyfarfod â'u hangenion. Daw teyrnasoedd y byd ato pan y gwelant ynddo barodrwydd i'w derbyn a chyfaddasder i gyfarfod â'u hangenion. "Efe," meddai y brophwydoliaeth, "a lywodraetha o fôr hyd fôr, ac o'r afon hyd derfynau eithaf y ddaear. Canys efe a wared yr anghenog pan waeddo, a'r hwn ni byddo iddo gynorthwywr; efe a

achub y tlawd a'r rheidus, ac a wared feibion y rhai anghenus." Mae ei barodrwydd i gadw a'i waredigaethau achubol yn gwasanaethu i ledaenu ei lywodraeth ysbrydol. Canfyddodd yr holl bublicanod a'r pechaduriaid bethau ynddo oedd yn cyfarfod â'u hangenion hwy. Barnai y Phariseaid a'r ysgrifenyddion ei fod yn gosod ei hun yn rhy agored i'r bobl a ystyrid ganddynt yn beryglus i ymgymysgu â hwy: ni allent hwy gydgerdded a chydgyfeillachu â'r bobl hyn. Dywedent mewn gair a gweithred wrthynt, Saf di yna: sancteiddiach wyf fi na thydi; ac awgryment y gellid ei farnu oddiwrth y bobl oedd yn troi o'i gwmpas, fel y mae dyn i'w farnu wrth ei gwmpeini. "Y mae hwn," meddent, "yn derbyn pechaduriaid." Y fath wirionedd anmhrisiadwy! Ni ddywedodd neb well gwirionedd na hwn. Y mae y gwirionedd hwn yn parhau yn ei werth. Trodd llawer eu hwynebau ato trwy y gair hwn. Da gan ei bobl ar hyd y daith feddwl am y gair yma; a phan yn gwynebu ar dragywyddoldeb estyna y gair hwn gynorthwy i lawer i daflu eu hunain i freichiau eu Gwaredwr.

### CEISIO Y COLLEDIG.

Yma llefarodd yr Iesu dair dameg, y rhai sydd yn dysgu parodrwydd a gallu Duw i gadw, sef dameg y ddafad a gollasid, y dryll arian, a'r mab afradlon. "Pa ddyn ohonoch," meddai, "a chanddo gant o ddefaid, ac os cyll un ohonynt, nid yw yn gadael yr amyn un pum ugain yn yr anialwch, ac yn myned ar ol yr hon a gollwyd, hyd oni chaffo efe hi?" Yr wyf fi, fel pe dywedasai, yn gwneyd tuagat bechaduriaid yr hyn a wnaech chwi mewn ystyr naturiol. Y mae y bugail yn myned ar ol y ddafad golledig, ac yn ei cheisio hyd oni chaffo efe hi. Nid oes obaith i'r ddafad golledig ddychwelyd adref o'i chrwydriadau heb i'r bugail fyned ar ei hol, a'i cheisio hi. "Nyni oll a grwydrasom fel defaid; troisom bawb

i'w ffordd ei hun." Nid oedd obaith i ni ddychwelyd yn ol at Dduw wedi encilio oddiwrtho ar hyd ein ffyrdd ein hunain, heb i'r Bugail Da dd'od i lawr o'r nef i'n ceisio. Y mae efe yn ceisio pechaduriaid colledig,—yn eu ceisio trwy bregethu, dysgu a thrugarhau hyd onid edifarhant a dychwelyd ato ef. Y mae y bugail yn myned i'r mynyddoedd i geisio y golledig. Gair prydferth ac addysgiadol ydyw y gair, "Ac wedi iddo ei chael, efe a'i dug hi ar ei ysgwyddau ei hun yn llawen." "Felly," meddai, "y bydd llawenydd yn y nef am un pechadur a edifarhao, mwy nag am onid un pum ugain o rai cyfiawn, y rhai nid rhaid iddynt wrth edifeirwch." Y mae yr angelion yn llawenychu yn nychweliad un pechadur at Dduw; y mae llawenydd Duw ei hun yn llenwi drosodd i'r angelion. Y mae y nefoedd yn llawn o lawenydd pan y mae un pechadur yn edifarhau ac yn dychwelyd at Dduw.

### DAMEG Y DRYLL.

"Neu pa wraig, a chanddi ddeg dryll o arian, ac os cyll hi un dryll, ni oleu ganwyll ac ysgubo y tŷ, a cheisio yn ddyfal hyd onis caffo ef?" Meddiant a gwerth sydd yn peri i'r wraig chwilio am y dryll arian ; y mae'r dryll colledig yn eiddo iddi, ac y mae yn werthfawr yn ei golwg. Nid oes bywyd ynddo i ymdeimlo â'i sefyllfa. Y mae y dyn trwy dwyll pechod wedi caledu ei galon : y mae efe yn rhy galed i deimlo ei drueni ; ond darn arian ydyw efe er hyny yn ngolwg yr Iesu. Y mae y wraig yn ymdrechu i geisio y dryll a gollasid, a cheisio yn ddyfal hyd onis caffo ef ; ac wedi llwyddo i'w gael geilw ei chyfeillesau a'i chymydogesau i gyd-lawenhau â hi, gan ddywedyd, "Cyd-lawenhewch â mi ; canys cefais y dryll a gollaswn." "Felly, meddaf i chwi," meddai yr Iesu, "y mae llawenydd yn ngŵydd angelion Duw am un pechadur a edifarhao." Yr oedd gan y

wraig lawenydd nid yn unig iddi ei hun, ond hefyd i bawb o'i hamgylch. Y mae yr angelion yn cael eu galw i gyd-lawenhau âg ef am un pechadur a edifarhao.

### DAMEG Y MAB AFRADLON.

Yn y drydedd ddameg daw yr Iesu yn nes atom. Defnyddia un o'r un natur a ni yn nameg y mab afradlon i ddysgu y gwirionedd yn fwy cyflawn. Yn y mab afradlon y mae ef yn dangos y dyn yn dewis gadael Duw, a gadael ei gartref, ac yn myned yn mhell oddiwrtho, ac yn y pellder yn blino ar bechod a'i drueni, ac yn blino arno ei hun, yn d'od ato ei hun, yn edifarhau, ac yn troi ei wyneb tua thŷ ei dad, a'r tad yn ei ganfod ac yn rhedeg i'w gyfarfod, ac yn syrthio ar ei wddf, ac yn ei gusanu ; ac wedi iddo gyrhaedd y tŷ, cyn i'r bachgen afradlon gael gorphen ei gyffes, y mae y tad yn gorchymyn dwyn allan y wisg oreu, a gwisgo am dano, a rhoddi modrwy ar ei law, ac esgidiau am ei draed ; a gorchymynodd y tad ladd y llo pasgedig er mwyn gwneyd gwledd o lawenydd ar ddychweliad y mab afradlon adref. Mae llawer o bregethu wedi bod ar ddameg y mab afradlon. Y mae ynddi wirioneddau mawrion yr efengyl, a gwirioneddau cymhelliadol i'r penaf o bechaduriaid i ddychwelyd at yr Arglwydd, a phery yn llawn a gwerthfawr tra y bydd yn amser cymeradwy i berswadio dynion i ddychwelyd yn ol at Dduw.

### ARFER Y BYD HEB EI GAMARFER.

"Ac yr wyf yn dywedyd i chwi, Gwnewch i chwi gyfeillion o'r mamon anghyfiawn : fel, pan fo eisieu arnoch, y'ch derbyniont i'r tragywyddol bebyll."—LUC xvi. 9.

Y ma rhydd yr Iesu gyfarwyddyd i'w ddysgyblion pa fodd y gallent arfer y byd heb ei gamarfer. Un o beryglon a chamgymeriadau dysgyblion Crist ydyw

edrych ar y byd hwn a'i bethau fel pethau ar wahan i deyrnas eu Harglwydd. Y mae plant y byd hwn yn byw yn unig i'r byd hwn: y byd a'i gyfoeth a'i bleserau ydyw eu duw; nid ydyw y byd yn ei oreu yn teilyngu y fath warogaeth oddiwrth ddynion, y rhai sydd wedi eu creu i addoli a gwasanaethu Duw. Nid ydyw cariad y Tad yn y galon sydd yn rhoddi y flaenoriaeth i'r byd hwn: "O char neb y byd, nid ydyw cariad y Tad ynddo ef." Y mae plant y byd hwn yn camddefnyddio y byd a'i bethau trwy wneyd gormod ohono. Y mae plant y goleuni yn y perygl o gamddefnyddio y byd hwn trwy beidio gwneyd digon ohono trwy ei ddefnyddio i wasanaethu amcanion uchel teyrnas nefoedd. Wrth edrych yn gyffredinol, deuwn i'r casgliad nad yw dysgyblion yr Iesu wedi dysgu ei wers ef ar y byd. Edrychant yn ormodol ar y byd a'i bethau fel pethau yn perthyn yn hollol i'r byd hwn, ac fel eiddo personol i ni ein hunain, ac ar wahan i deyrnas ein Harglwydd. Cyfarwyddyd yr Athraw ydyw, "Gwnewch i chwi gyfeillion o'r mamon anghyfiawn." Byddwch ofalus a charedig wrth eich brodyr tlodion yn y byd. Pan y bydd rhai ohonynt mewn henaint, ac fe ddichon mewn tlodi, cyfrenwch iddynt angenrheidiau tymhorol. Peidiwch gadael i'ch brodyr tlodion fod mewn angen pan y mae ar eich llaw eu cynorthwyo. Dyna y ffordd i chwi wneyd cyfeillion o'r byd hwn i'ch derbyn i'r tragywyddol bebyll. Y mae yn sicr y bydd rhai ohonynt wedi myned i'w cartref tragywyddol o'ch blaen chwi. Byddant yn eich derbyn yn siriol pan y byddwch chwithau yn cyrhaedd adref. "Fel, pan fo eisieu arnoch, y'ch derbyniont i'r tragywyddol bebyll."

### DAMEG Y GORUCHWYLIWR ANGHYFIAWN.

Er mwyn dysgu ac argraphu y gwirionedd llefarodd ddameg, a thrwy y ddameg dymuna gadw yn fyw y

gwirionedd yn meddwl ei bobl yn y byd. "Yr oedd rhyw wr goludog, yr hwn oedd ganddo oruchwyliwr; a hwn a gyhuddwyd wrtho, ei fod ef megis yn afradloni ei dda ef." Galwodd y gwr goludog ei oruchwyliwr ato, a gofynodd iddo, "Pa beth yw hyn yr wyf yn glywed am danat: dyro gyfrif o'th oruchwyliaeth: canys ni elli fod mwy yn oruchwyliwr." Gofynodd y goruchwyliwr iddo ei hun, "Pa beth a wnaf? canys y mae fy arglwydd yn dwyn yr oruchwyliaeth oddi arnaf: cloddio nis gallaf, a chardota sydd gywilyddus genyf." Mi a wn beth a wnaf, meddai, mi a alwaf ddyledwyr fy arglwydd, ac ymddygaf tuagatynt fel y gallaf ddisgwyl derbyniad i'w tai, wedi cael fy nhaflu allan o'r oruchwyliaeth. Gwnaeth eu cyfrif i'w arglwydd yn llai. Mae ei arglwydd yn ei ganmawl, nid am iddo wneuthur anghyfiawnder âg ef, ond am iddo wneuthur yn gall trwy iddo wneyd defnydd o'r manteision oedd yn ei law i barotoi derbyniad iddo yn y dyfodol. "A'r arglwydd a ganmolodd y goruchwyliwr anghyfiawn am iddo wneuthur yn gall;" ac yma rhydd yr Iesu awgrym fod plant y byd hwn yn gallach yn eu cenhedlaeth na phlant y goleuni: gwnant well defnydd na phlant y goleuni o'r manteision sydd yn eu dwylaw gogyfer â'u dyfodol yn y byd. Callach ydynt gyda'r pethau lleiaf yn y byd hwn nag ydyw plant y goleuni gyda phethau mwyaf teyrnas nefoedd. Gosodant bethau y byd mewn gwell mantais o berthynas i'w dyfodol yn y byd nag y gwna plant y goleuni o berthynas i'w dyfodol yn y byd a ddaw yn yr alwedigaeth nefol.

Dywed wrthynt am fod yn effro i ddefnyddio y byd a'i bethau gwerthfawr i well mantais na byw yn unig yn y byd hwn trwy eu defnyddio i wasanaethu amcanion ei deyrnas ef, ac i wneyd cartref a derbyniad mewn gwlad well. "Y neb sydd ffyddlawn," meddai, "yn y lleiaf sydd ffyddlawn hefyd mewn llawer, a'r neb sydd anghyfiawn yn y lleiaf sydd anghyfiawn hefyd mewn

llawer." "Trwy ras yr ydym yn gadwedig;" ond y mae perygl anghofio bod Brenin y deyrnas yn gwobrwyo rhoddion a llafur cariad. Y mae yr hwn sydd yn gwneyd duw o'r byd hwn yn gwneyd anghyfiawnder âg ef ac â'i enaid ei hun. "Ni ellwch," medd efe, "wasanaethu dau arglwydd: ni ellwch wasanaethu Duw a mamon." Dywed wrth y rhai sydd yn ymroddi i'w wasanaethu ef, ac yn dwyn pobpeth i dalu gwarogaeth i'w deyrnas, "Mawr fydd eich gwobr yn y nefoedd."

Yr oedd y Phariseaid, y rhai oedd ariangar, yn clywed hyn, ac yn ei watwar, "a hwy a'i gwatwarasant ef." Yr oedd eu rhagrith a'u hunan-gyfiawnder yn peri iddynt weled beiau yn mhawb ond ynddynt hwy eu hunain; yr oeddynt yn gallu gwatwar y sanctaidd a'r dihalog a'r didoledig oddiwrth bechaduriaid. Y mae yma yn ymdrechu i roddi cyfleusdra iddynt i adnabod eu hunain trwy ddynoethi eu rhagrith. "Chwychwi," meddai, "yw y rhai sydd yn eich cyfiawnhau eich hunain gerbron dynion; eithr Duw a ŵyr eich calonau chwi." Y mae eich ymdrech i ymddangos yn dda a duwiol gerbron dynion, a'ch ymdrech i dwyllo a chamarwain pobl ereill, yn ffiaidd gerbron Duw, "canys y peth sydd uchel gyda dynion, sydd ffiaidd gerbron Duw." Y mae cyfiawnhau eich hunain gerbron dynion yn uchel yn eich golwg chwi, ond ffiaidd ydyw gerbron Duw. Yr un modd hefyd y mae eich sancteiddrwydd honiadol. Er eich manylwch ymddangosiadol i gadw y gyfraith, yr ydych yn troseddu y gyfraith i foddloni eich llygredigaeth eich hunain; "eithr Duw a ŵyr eich calonau chwi," yr hwn sydd yn edrych nid ar yr olwg allanol ond ar y galon. Y gyfraith a'r prophwydi oedd hyd Ioan; er y pryd hwnw y pregethir teyrnas Dduw, a phob dyn sydd yn ymwthio iddi. Y mae y gyfraith yn ei grym, ei gwirionedd, a'i hawdurdod yn nheyrnas Dduw; a haws yw i nef a daear fyned heibio nag i un

tipyn o'r gyfraith ballu. Y mae efe yn gosod allan ac yn sefyll dros ofynion uchel ei gyfraith yn ei deyrnas ef; gyda llymder y gwna hyn, ac nis gallai y Phariseaid lai na theimlo ei fin. "Pwy bynag," meddai, "a ollyngo ymaith ei wraig, ac a briodo un arall, y mae efe yn godinebu; a phwy bynag a briodo yr hon a ollyngwyd ymaith oddiwrth ei gwr, y mae efe yn godinebu."

DAMEG Y GOLUDOG A LAZARUS.

Llefarodd yr Iesu ddameg i ddangos y perygl i ddynion fyw yn gwbl iddynt eu hunain, a byw yn hollol i'r byd hwn, a'r perygl mawr o gamddefnyddio manteision amser. "Yr oedd rhyw wr goludog," meddai, "ac a wisgid a phorphor a llian main, ac yr oedd yn cymeryd byd da yn helaethwych beunydd: yr oedd hefyd ryw gardotyn, a'i enw Lazarus, yr hwn a fwrid wrth ei borth ef yn gornwydlyd, ac yn chwenychu cael ei borthi â'r briwsion a syrthiai oddiar fwrdd y gwr cyfoethog; ond y cwn a ddaethant, ac a lyfasant ei gornwydydd ef." Nid ydym i farnu cyflyrau dynion oddiwrth eu hamgylchiadau yn y byd. Wele yr annuwiol yn cael ei gylchynu âg anrhydedd a mwynderau y byd, ac wele ddyn duwiol yn gardotyn tlawd, a derbyniai fwy o dosturi oddiwrth greaduriaid direswm nag oddiwrth yr hwn a wrthodai ganiatau y briwsion i ddiwallu ei angen. "A bu i'r cardotyn farw, a'i ddwyn gan yr angelion i fynwes Abraham." Nid oes yma air o son am ei gladdedigaeth. Anfonwyd angelion o'r nefoedd i ddwyn ei ysbryd i fynwes Abraham. Amlwg yma ydyw y rhagor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, a'r hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef. Y mae yr angelion yn gweinyddu ar y duwiol er bod yn dlawd. "A'r goludog hefyd a fu farw, ac a gladdwyd." Cafodd y goludog gladdedigaeth; ac os barnwn ni y claddedigaeth wrth yr amgylchiadau deuwn i'r casgliad ei fod yn

rhwysgfawr. "Ac yn uffern efe a gododd ei olwg, ac efe mewn poenau, ac a ganfu Abraham o hirbell, a Lazarus yn ei fynwes." Gofynodd i Abraham, "O dad Abraham, trugarha wrthyf." Yr oedd yr amser i ſefain trugarha wedi myned heibio; a phe buasai yn cael ei wneyd mewn amser, nid oedd yn ddigonol, gan nad oedd yn cael ei gyfeirio i'r lle priodol. Llefai Trugarha, er nad oedd efe wedi dangos dim trugaredd. Gofynodd i Abraham anfon Lazarus i drochi pen ei fys mewn dwfr, ac i oeri ei dafod; canys dywed, "fe a'm poenir yn y fflam hon." "Ha fab," meddai Abraham, "coffa i ti dderbyn dy wynfyd yn dy fywyd, ac felly Lazarus ei adfyd; ac yn awr y diddenir ef, ac y poenir dithau." Deddf fawr teyrnas Dduw ydyw, fod ein dymuniadau presenol i reoli ein dedwyddwch dyfodol. Yn ol y ddeddf hon, os ydyw ein dymuniadau am bethau da yn cael eu cyfyngu i amser yn unig, ofer ydyw gobeithio am ddaioni wedi i amser fyned heibio; ond yn ol yr un ddeddf y mae yr hwn sydd yn cyfarfod â drygau yn y byd, ac yn gorchfygu y drygau ynddo ei hun, ac sydd yn cael ei weithio i geisio y pethau sydd uchod, a cheisio ei ddiddanwch oddi uchod, yn ei farwolaeth yn cael ei ryddhau o'i holl ofidiau a thrueni y byd presenol, ac yn myned i mewn i'r llawenydd pur a thragywyddol. Dywed Abraham hefyd fod gagendor wedi ei sicrhau rhyngddynt, fel nas gallent dramwy at eu gilydd. Gofynodd eilwaith, "Yr wyf yn atolwg i ti gan hyny, O dad, ddanfon ohonot ef i dŷ fy nhad: canys y mae i mi bump o frodyr: fel y tystiolaetho iddynt hwy, rhag dyfod ohonynt hwythau hefyd i'r lle poenus hwn." Buasai hyny yn ychwanegu ei boenau. "Abraham a ddywedodd wrtho, Y mae ganddynt Moses a'r prophwydi; gwrandawant arnynt hwy." Os gwnant hwy ddefnydd o'r manteision sydd ganddynt ni ddeuant yna. "Nage, y tad Abraham." Nage a ddywedai yn y byd

hwn, a nage yn y byd tragywyddol, meddai y pregethwr. "Eithr os ä un oddiwrth y meirw atynt, hwy a edifarhant." Dywedodd Abraham yn derfynol, "Oni wrandawant ar Moses a'r prophwydi, ni chredant chwaith pe codai un oddiwrth y meirw." Y mae y manteision goreu iddynt hwy ganddynt, ac os nad ydynt yn gwneyd defnydd o'r manteision sydd ganddynt, ni chredant chwaith pe byddai un oddiyma neu oddiyno yn myned yno i'w rhybuddio.

## PARHAD A THAERINEB MEWN GWEDDI.

"Rhaid gweddio yn wastad, ac heb ddiffygio."—Luc xviii. 1.

Y gwirionedd a ddysgir i ni yn y gair hwn ydyw, yr angenrheidrwydd am ddyfalbarhad a thaerineb mewn gweddi am fendithion ysbrydol i lwyddo y deyrnas yn y byd. Dyledswydd a braint pob dyn ydyw gweddio. "Pob duwiol a weddia." Nid oes neb yn dduwiol heb weddio yn ddibaid. Y mae ein gwaith a'n dyledswyddau dyddiol a gwastadol yn galw arnom i weddio; anadliad y bywyd ysbrydol a thragywyddol ydyw gweddi. I orchfygu ein gelynion ysbrydol, a darostwng ein chwantau drwg, ac i gael goruchafiaeth arnom ein hunain, rhaid parhau mewn gweddi. Mewn cymundeb parhaus â Duw mewn gweddi y gallwn gyflawni gwaith ysbrydol. Gofynodd y dysgyblion iddo, "Arglwydd, anghwanega ein ffydd ni." Yn ngwyneb ei orchymyn iddynt i faddeu i'r brodyr seithwaith yn y dydd, os dywedent seithwaith yn y dydd "y mae yn edifar genyf." Mynega iddynt anhawsderau ei deyrnas hyd ddydd y farn, ac nas gallent orchfygu a myned trwy rwystrau ond trwy weddio yn wastad ac heb ddiffygio. Y mae gweddio yn wastadol heb ddiffygio yn golygu taerineb mewn gweddi, a'r weddi daer ydyw y weddi lwyddianus.

## DAMEG Y BARNWR ANGHYFIAWN A'R WEDDW DAER.

Llefarodd ddwy ddameg i osod argraph ddofn ar eu meddwl mai trwy ddefosiwn gwastadol a ffyddiog gweddi yr oedd iddynt gyflawni gwaith ysbrydol, a gorchfygu eu gelynion a'r rhwystrau. Dywed yn nameg y weddw daer fod taerineb yn llwyddo mewn amgylchiadau hynod o anfanteisiol. "Yr oedd rhyw farnwr," meddai, "mewn rhyw ddinas, yr hwn nid ofnai Dduw, ac ni pharchai ddyn." Dyn caled ac anystyriol oedd y barnwr : yr oedd efe wedi distewi pob dylanwad a barai iddo ofni Duw a pharchu dyn. Nid oedd ynddo ofn Duw : ni theimlai un amser ei fod ef yn gyfrifol i neb, ac yr oedd yn hollol amddifad o gydymdeimlad a pharch i'w gyd-ddynion. Efe ei hun ydoedd amcan uchaf ei fodolaeth. "Yr oedd hefyd yn y ddinas hono wraig weddw; a hi a ddaeth ato ef, gan ddywedyd, Dial fi ar fy ngwrthwynebwr." Cymerai adyn caled fel hwn fantais ar sefyllfa ddiamddiffyn y weddw i ohirio ei chais. "Ac efe nis gwnai dros amser ;" ond ni chafodd lonyddwch gan y weddw; cymhellai ei chyfyngder hi i fyned ato, a bod yn daer ger ei fron. Myned yn daerach yr oedd hi bob tro yr elai hi ato, fel, o'r diwedd, y daeth efe i benderfynu gwrando arni : "eithr wedi hyny efe a ddywedodd ynddo ei hun, Er nad ofnaf Dduw, ac na pharchaf ddyn." Yr oedd efe yn ddigon caled i ymffrostio yn ei annuwiaeth a'i galongaledwch. "Eto," meddai, "am fod y weddw hon yn peri i mi flinder, mi a'i dialaf hi ; rhag iddi ddyfod yn y diwedd a'm syfrdanu i." Gwelai oddiwrth ei gwynebpryd ei bod hi mewn cyfyngder a thrallod, a'i bod yn daer a difrifol yn ei chais ato. Mi a'i dialaf hi, meddai, rhag iddi fy nharo yn fy wyneb. Ystyr gyntaf syfrdanu ydyw taro ar y wyneb neu y pen. Gwrandawodd hi oherwydd bod arno ofn am ei wyneb.

### LLWYDDIANT TAERINEB.

Yma llwyddodd taerineb mewn amgylchiadau hynod o anfanteisiol. "Oni ddial Duw ei etholedigion, sydd yn llefain arno ddydd a nos, er ei fod yn hir oedi drostynt?" Wele bobl yn llefain ar un sydd yn llawn o dosturi a pharodrwydd i wrando llef o gyfyngder: y mae efe yn hoffi clywed eu llais a gweled eu gwedd. Da ganddo bob golwg arnynt yn d'od ato i geisio yn ol eu hangen. Y mae efe yn gofyn iddynt, "Gad i mi weled dy wyneb, gad i mi glywed dy lais; y mae dy lais yn beraidd, a'th olwg yn hardd." "Efe a edrych ar weddi y gwael, ac ni ddiystyrodd eu dymuniad." "Tosturiol iawn yw yr Arglwydd a thrugarog." Taerineb ei bobl mewn gweddi ydyw y dylanwad mwyaf arno o'r ddaear, a'r gwaith mwyaf ar y ddaear ydyw gweithrediadau dwyfol ras Duw mewn atebiad i weddiau taerion ei bobl ar y ddaear, yn enw Iesu Grist. Os ydyw barnwr anystyriol ac anghyfiawn yn cael ei berswadio i wrando ar un nad oedd yn ei charu, nac yn ei hofni, yn unig trwy ei thaerineb, yr hyn hefyd a gasëid ac a ofnid ganddo, pa faint mwy y bydd i'r hwn sydd yn berffaith mewn cyfiawnder, gwirionedd, cariad, a daioni wrando gweddiau taerion a gwastadol ei bobl anwyl trwy gyflawni ei addewidion? Er ei fod yn gadael iddynt weddio am hir amser yn eu golwg hwy mewn helbulon a gwrthwynebiadau i brofi eu cywirdeb, ac i gynyddu eu gostyngeiddrwydd, eu symledd, a'u difrifwch. "Yr wyf yn dywedyd i chwi y dial efe hwynt ar frys." Hir oedi ydyw yn ol amser y ddaear; ar frys ydyw yn ol amser y nefoedd. "Mab y dyn pan ddel," gofyna, "a gaiff efe ffydd ar y ddaear?" Ffydd tuagat ein Harglwydd Iesu Grist sydd yn wir werthfawr ar y ddaear. Pan y deuai i gospi yr Iuddewon am erlid a gwrthwynebu ei bobl, a fyddai ei bobl yn disgwyl wrtho

y pryd hwnw? Awgryma yma mai perygl ei bobl ydyw blino yn eu disgwyliadau wrtho, oherwydd ei fod yn hir-ymarhous yn ei ddyfodiad yn erbyn eu gelynion.

### Y PHARISEAD A'R PUBLICAN YN Y DEML YN GWEDDIO.

"Ac efe a ddywedodd y ddameg hon hefyd wrth y rhai oedd yn hyderu arnynt eu hunain eu bod yn gyfiawn, ac yn diystyru ereill."—LUC xviii. 9.

Nid ydyw defosiwn gweddi yn llwyddianus nac yn gymeradwy gyda Duw, pa mor berffaith bynag a pha mor wastadol bynag, ar sail hunan-gyfiawnder dynol. Ar y truan a'r gostyngedig o ysbryd y mae efe yn edrych. Y mae efe yn gwrthwynebu y beilchion ac yn rhoddi gras i'r gostyngedig. Y mae y gweddïwr balch, hunan-gyfiawn, a rhagrithiol yn anghymeradwy ganddo ef. Dywed wrth y tlawd, "Lleda dy safn, a mi a'i llanwaf." Yma yn y ddameg rhydd ddesgrifiad i ni o'r gweddiwr balch a'r gweddiwr gostyngedig ac edifeiriol. "Dau wr a aeth i fyny i'r deml i weddio; un yn Pharisead, a'r llall yn bublican." Y mae y Pharisead balch a hunan-gyfiawn yn diystyru ereill hyd yn nod pan yn gweddio. Efe a aeth yn mlaen yn y deml i'r lle mwyaf amlwg. Diolch i Dduw y mae efe yn ei weddi nad ydyw efe fel y mae dynion ereill: yr oedd yn lân oddiwrth bechodau gwaradwyddus, ac nid oedd efe yn debyg i'r publican oedd yno yr un adeg ag ef; ac yr oedd efe yn ymprydio ddwywaith yn yr wythnos. Gan hyny ymprydiai fwy nag oedd y gyfraith yn ofyn. "Yr wyf," meddai, "yn degymu cymaint oll ag a feddaf." Ei gyfiawnder ei hun oedd sail ei weddi, os oedd hi yn teilyngu yr enw. Nid oes un deisyfiad o'i mewn, gan ei fod yn berffaith yn ei olwg ei hun. Safai y publican o hirbell oddiwrth y Pharisead, ac o hirbell o'r lle mwyaf amlwg yn y deml, yr hwn a ystyrid y lle agosaf at y nefoedd; ac ni fynai gymaint a chodi ei olwg tua'r nef,

ond curodd ei ddwyfron, gan ddywedyd, "O Dduw, bydd drugarog wrthyf bechadur." Gweddi fer ond yn cynwys ei holl angen oedd gweddi y publican. Er mor fer, y mae yn cynwys tri pheth mawr—pechadur mawr, trugaredd fawr, a Duw mawr. Y mae gweddi y Pharisead yn cynwys llawer mwy o eiriau na gweddi y publican, ac yn ddiau yn y deml yn unig y byddai yn gweddio, neu mewn lleoedd cyhoeddus. Yn y cyhoedd y mae y rhagrithiwr a'r hunan-gyfiawn yn gweddio yn unig. Clywsom am un yn hir weddio yn y cyfarfod gweddio, pryd yr oedd ei ddau was yn eistedd yn ymyl eu gilydd. Dywedodd un wrth ei gyd-was, "Y mae meistr yn gweddio yn hir heno." "Gad iddo," meddai y llall, "ni fu wrthi hi er pan y bu ef yn y lle acw o'r blaen." Dywed yr Iesu am y publican, "Aeth hwn i waered i'w dŷ wedi ei gyfiawnhau yn fwy na'r llall." Yr oedd ei weddi o'r pellder yn esgyn at Dduw: "A'r Arglwydd a'i clybu." Gwnaeth ef yn gymeradwy yn yr Anwylyd; gwisgodd ef yn nghyfiawnder gwyn a glân Iesu Grist. "Canys pob un a'i dyrchafo ei hun a ostyngir, a phob un a'i gostyngo ei hun a ddyrchefir."

# PENOD XVI.

---

*Yr Iesu yn derbyn ac yn bendithio plant bychain—Y llywodraethwr ieuanc yn gofyn iddo pa ffordd i etifeddu bywyd tragywyddol—Yn myned ymaith yn athrist oherwydd ei gariad at y byd—Petr yn gofyn beth a fyddai iddynt hwy—Yr Iesu yn ymostwng i ateb y cwestiwn—Dameg y gweithwyr yn y winllan—Yn mynegi iddynt y drydedd waith am ei farwolaeth a'i adgyfodiad—Uchelgais Iago ac Ioan.*

---

"Gadewch i'r plant bychain ddyfod ataf fi, ac na waherddwch hwynt."—Luc xviii. 16.

DOETH y gwnaeth y rhieni ddwyn eu plant at yr Iesu, fel y cyffyrddai efe â hwynt a'u bendithio pan yr oedd yn myned heibio ar ei daith olaf yn y byd. Y mae yr hanes yn cynwys esiampl, addysgiadau, a chymhelliadau anmhrisiadwy i rieni ac eglwys Crist o berthynas i blant bychain. "Ar dysgyblion pan welsant, a'u ceryddasant hwy." Yn ngolwg y dysgyblion nid oedd ond trafferth ofer, ac nid oedd ond rhwystr i'r Iesu ar ei daith. "Gadewch," meddai, "i'r plant bychain ddyfod ataf fi, ac na waherddwch hwynt: canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas Dduw." Yr oedd gweled eu gwynebau diniwed, ac edrych yn eu llygaid diddichell, wedi bod yn sefyll o flaen gwynebau yn llawn dichell a thwyll, yn ameuthyn hyfryd ac yn esmwythâd iddo ef. Canfyddai ynddynt burdeb, gwirionedd, symledd, cywirdeb, diniweidrwydd, hynawsedd, a chariad dibynol, y rhai sydd yn berffaith ynddo ef ei hun, ac sydd yn dra

gwerthfawr yn ei ganlynwyr. Yn hytrach na'u ceryddu am eu dwyn ato, efe a'u cymerodd yn ei freichiau, ac a roddes ei ddwylaw arnynt, ac a'u bendithiodd. Defnyddiai bob cyfleusdra i argymhell y dysgyblion a'i ganlynwyr i feddu rhinweddau sydd, er yn anmherffaith, yn y plant bychain. "Pwy bynag," meddai yma, "ni dderbynio deyrnas Dduw fel dyn bach, nid ä efe i mewn iddi." Y mae rhinweddau y dyn bach yn ei ganlynwyr yn eu gwneyd yn anwyliaid yn ei olwg ef. Y fath golled i'r plant hyn fuasai i'r Iesu fyned heibio y daith olaf hon heb gael eu cyflwyno gan eu rhieni i freichiau yr Iesu, fel y byddai iddo weddio drostynt a'u bendithio. Nid oedd eu holl ofal a'u holl gymwynasau iddynt i gyd gyda'u gilydd yn ddim wrth y gymwynas fawr hon, sef cyflwyno eu plant i freichiau yr Iesu. Wele esiampl werthfawr i rieni. Y cymwynaswyr mwyaf i'w plant ydyw y rhai sydd yn cyflwyno eu plant yn y bedydd, yn eu gweddiau, ac yn eu haddysg i freichiau yr Iesu, i gael ei ddymuniadau o'u plaid a'i fendith arnynt.

### Y LLYWODRAETHWR IEUANC YN DYFOD AT YR IESU.

"Un peth sydd ddiffygiol i ti."—MARC x. 21.

Daeth rhyw lywodraethwr ieuanc a chyfoethog iawn at yr Iesu pan yr oedd efe ar ei ffordd i Jerusalem, a gofynodd iddo, "O, Athraw da, beth a wnaf fel yr etifeddwyf fywyd tragywyddol?" Yr oedd y dyn ieuanc hwn o gymeriad dilychwin, yn nghanol temtasiynau ieuenctyd a chyfoeth. Yr oedd trwy ddylanwad bywyd dilychwin a dylanwad ei gyfoeth wedi ei godi yn llywodraethwr y synagog. Meddai hefyd feddwl uchel am y Gwaredwr fel athraw cymhwys i'w gyfarwyddo pa fodd i etifeddu bywyd tragywyddol. Dangosodd fesur o onestrwydd yn ei awydd am fywyd tragywyddol trwy redeg at yr Iesu, ac ymostwng ar ei liniau ger ei fron, a'i alw, "O Athraw da." Gofynodd yr Iesu iddo, "Paham y gelwi

fi yn dda? nid oes neb da ond un, sef Duw." Y mae gwir ddaioni yn hanfodi yn Nuw. Yr ydwyf fi gan hyny yn Dduw. I ddyrchafu meddwl y dyn ieuanc am dano y dywedodd hyn. Yn Nuw y mae gwir fywyd. "Ti a wyddost y gorchymynion," meddai, "Na odineba, Na ladd, Na ladrata, Na cham-dystiolaetha, Na cham-golleda, Anrhydedda dy dad a'th fam." "Y rhai hyn i gyd," atebodd, "a gedwais o'm hieuenctyd. Beth sydd yn eisieu i mi eto?" Dengys ei ateb i'r Athraw nad oedd yn adnabod ei hun nac yn adnabod gofynion ysbrydol gorchymynion Duw iddo. "A'r Iesu gan edrych arno, a'i hoffodd." Hoffai gymeriad dilychwin y dyn ieuanc; hoffai weled cwestiwn mor fawr a phriodol yn cael lle yn meddwl dyn ieuanc. "Beth a wnaf fel yr etifeddwyf fywyd tragywyddol?" O'r holl gwestiynau, hwn ddylai gael y flaenoriaeth yn y meddwl, y galon, a'r ymdrech. Hoffai yr Iesu hefyd ei onestrwydd a'i ddifrifwch gyda'r cwestiwn mawr hwn. Y mae efe yn hoffi gonestrwydd. Mynegodd yr Iesu beth oedd yn ei galon trwy geisio ganddo roddi y flaenoriaeth iddo ef, ac nid i gyfoeth y byd. "Un peth," meddai, "sydd ddiffygiol i ti: dos, gwerth yr hyn oll sydd genyt, a dyro i'r tlodion; a thi a gai drysor yn y nef: a thyred, a chymer i fyny y groes, a dilyn fi." Y mae un peth, os ydyw yn sefyll yn uwch na'r Ceidwad, yn ddigon i'n cau ni allan o deyrnas nefoedd. Y mae gafael tŷn yn y byd yn y perygl o gau llawer allan o deyrnas nefoedd. Yr un peth oedd yn rhwystro hwn i etifeddu bywyd tragywyddol ydoedd cariad cryfach at ei gyfoeth nag at y Gwaredwr a'i deyrnas. Rhoddodd iddo gyfleusdra i ymryddhau oddiwrth yr un peth oedd yn ei rwystro i etifeddu bywyd tragywyddol. Yr oedd efe yn gyfoethog iawn; ond nid oedd ei gyfoeth yn haeddu ei gyffelybu i feddianu yr Arglwydd yn rhan, ac etifeddu y bywyd ynddo yn y byd hwn. Yr oedd telerau teg a rhesymol i

etifeddu bywyd tragywyddol yn rhy galed yn ngolwg y dyn ieuanc gobeithiol hwn. "Efe a bruddhaodd," medd yr hanes, "wrth yr ymadrodd, ac a aeth ymaith yn athrist: canys yr oedd ganddo feddianau lawer." Golwg bruddaidd ydyw hon. Dyn ieuanc gobeithiol a chyfoethog yn y byd yn rhedeg at yr Iesu, ac yn ymgrymu o'i flaen gyda chwestiwn y bywyd tragywyddol; ond wedi gwrando cyfarwyddyd yr Iesu i werthu ei feddianau, a rhoddi i'r tlodion, er mwyn ei ryddhau oddiwrth ei gariad at y byd, a chymeryd i fyny y groes, a'i ddilyn ef, y mae yn myned ymaith yn athrist, ac yn troi ei gefn y pryd hwn ar y gwir Dduw a'r bywyd tragywyddol.

### CADW YN BOSIBL GYDA DUW.

"A'r Iesu a edrychodd o'i amgylch, ac a ddywedodd wrth ei ddysgyblion, Mor anhawdd yr ä y rhai y mae golud ganddynt i deyrnas Dduw!" "Y mae yn haws i gamel fyned trwy grai y nodwydd, nag i oludog fyned i mewn i deyrnas Dduw." Yr oedd edrych ar y dyn ieuanc hwn yn myned ar ol ei gyfoeth, ac yn troi cefn arno ef, yn ei ofidio ef yn ddiau. Cynefin ydoedd efe â dolur. Brawychodd y dysgyblion wrth ei eiriau ef. Yr oedd y syniad Iuddewig yn dal yn fyw ynddynt er dilyn yr hwn a ddaeth heb le i roddi ei ben i lawr i'n cyfoethogi ni trwy ei dlodi ef. Edrychai yr Iuddewon ar lwyddiant yn y byd yn arddangos llwyddiant mewn crefydd. Yr oedd dyn cyfoethog yn eu golwg yn ddyn crefyddol. Dan ddylanwad y syniad hwn brawychodd y dysgyblion wrth ei eiriau ef. I roddi eglurhad ar ei eiriau dywed, "O blant, mor anhawdd yw i'r rhai sydd â'u hymddiried yn eu golud fyned i deyrnas Dduw." "A phwy a all fod yn gadwedig?" gofynodd y dysgyblion iddynt eu hunain. Rhyfedd yw ei addfwynder a'i ostyngeiddrwydd yn dysgu rhai gwrthnysig. Dysgodd

hwynt yma mewn modd addfwyn ac eglur. "Gyda dynion," meddai, "anmhosibl yw hyn, ond gyda Duw pob peth sydd bosibl." Cadw sydd bosibl gyda Duw; y mae Duw wedi gwneyd ein cadw yn bosibl. Nid oes genym ormod i'w golli i dd'od i delerau Duw i'n cadw. Beth pe dygid ni dan yr un prawf a'r llywodraethwr ieuanc hwn? Beth fyddai canlyniad y prawf? A ddeuem ni allan yn llwyddianus o arholiad yr Iesu? Profwn ni ein hunain, a ydym yn y ffydd.

PETR YN GOFYN BETH A FYDDAI IDDYNT HWY.

Sylwodd Petr ar y dyn ieuanc yn methu gadael ei gyfoeth er mwyn canlyn Crist, a dechreuodd feddwl am dano ei hun a'i gyd-apostolion. Un o'i feddyliau a dybiai y gallai efe a'i gyd-apostolion dderbyn llawer: Darfu i ni adael pob peth a'i ganlyn ef. Cododd meddwl arall ynddo, debygem, yr hwn a ddywedai, Nid oedd genych chwi fawr i'w adael o'i gymharu â'r gwr ieuanc hwn: nid oedd genych chwi ond ychydig longau pysgota ac ychydig rwydau. Cododd meddwl arall ynddo, a dywedodd, Ni a adawsom bob peth, ac ni ofynid ond hyny iddo ef; a daeth ei awydd sydyn i gael gwybod beth fyddai iddynt hwy yn ddigon cryf i ofyn i'w Arglwydd. "Wele," gofynodd, "nyni a adawsom bob peth, ac a'th ganlynasom di: beth gan hyny a fydd i ni?" Oherwydd fod yr Arglwydd yn hoffi gonestrwydd ei ddysgyblion, ac yn hoffi gwneyd defnydd o'r cyfleusdra i roddi gwers iddynt ar y cwestiwn, er nad oedd hwn yn gwestiwn hyfryd i'r hwn oedd yn ymyl cyflawni y weithred fwyaf o hunan-ymwadiad, trwy roddi ei fywyd drosom, y mae efe yn eu calonogi yn ei waith ac yn ngwyneb rhwystrau, ac yn eu rhybuddio o'u perygl i edrych yn ormodol ar dalu a derbyn, ac i ysbryd cyflogi fyned i mewn yn ormodol i'w hysbryd yn y gwaith, yr hyn a dynai oddiwrth werth eu gwasanaeth. Y mae yr ysbryd hwn yn

gwneyd y rhai blaenaf yn olaf, ac y mae Ysbryd Crist yn dyrchafu rhai bychain yn uchel yn ei deyrnas ef. I ateb cwestiwn Petr dywed, "Yn wir meddaf i chwi, Nid oes neb a'r. a adawodd dŷ, neu frodyr, neu chwiorydd, neu dad, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd, o'm hachos i a'r efengyl, a'r ni dderbyn y càn cymaint yr awrhon y pryd hwn, dai, a brodyr, a chwiorydd, a mamau, a phlant, a thiroedd, yn nghydag erlidiau; ac yn y byd a ddaw, fywyd tragywyddol." Beth bynag a roddir trwy y pethau uchod, dywed ei fod efe yn rhoddi y càn cymaint i'w ganlynwyr a'i weision ffyddlawn yr awrhon y pryd hwn. Os cartref, rhydd efe ragorach cartref ynddo ei hun ac yn ei dŷ; os perthynas a theulu, y mae ynddo ef gàn cymaint yn well, a gwna efe y berthynas deuluaidd â'i ras ei hun gàn cymaint yn well; ac os etifeddiaeth, y mae hono felly hefyd, a chymeryd yr erlidiau i mewn. Dywed yn ei bregeth ar y mynydd, "Gwyn eich byd pan y'ch gwaradwyddant, ac y'ch erlidiant, ac y dywedant bob drygair yn eich erbyn, er fy mwyn i, a hwy yn gelwyddog." Llawenychai Paul yn ei ddioddefiadau dros Grist; ac fel yr oedd ei ddioddefiadau yn amlhau, felly trwy Grist yr oedd ei ddiddanwch yn amlhau. "Ac yn y byd a ddaw," meddai, "fywyd tragywyddol." Dywedai Dr. Saunders "fod ein Gwaredwr yn rhoddi càn punt y bunt *(cent. per one)* yn y byd hwn; ond ni charwn," meddai, "ddyweyd fawr am *proportions* mawrion y byd a ddaw: y mae punt yn myned yn ddinas yno."

"Ond llawer," meddai, "o'r rhai blaenaf a fyddant olaf, a'r rhai olaf yn flaenaf." Y mae perygl, fel pe dywedasai, trwy ymofyn, Beth fydd i ni? i'r rhai blaenaf fyned yn olaf; a'r rhai a edrychir arnynt yn y byd a'r eglwys yn fychain, a änt yn flaenaf trwy wneyd y cwbl er fy mwyn i. Y bobl sydd yn ormodol o dan lywodraeth hunangarwch yw y rhai tebycaf o fod yn olaf yn ei

deyrnas ef. Dywed hefyd y caiff ei apostolion, y rhai a adawsant bob peth, ac a'i dilynasant ef, ac a fuont dystion iddo fel sefydlwyr ei deyrnas yn y byd, pan eisteddo Mab y dyn ar orsedd ei ogoniant, eistedd hwythau ar ddeuddeg gorsedd, yn barnu deuddeg llwyth Israel.

### DAMEG Y GWEITHWYR YN Y WINLLAN.

Parodd cwestiwn Petr, "Beth gan hyny a fydd i ni?" i'r Iesu lefaru dameg y gweithwyr yn y winllan. "Canys teyrnas nefoedd sydd debyg," meddai, "i wr o berchen tŷ, yr hwn a aeth allan, a hi yn dyddhau, i gyflogi gweithwyr i'w winllan. Ac wedi cytuno â'r gweithwyr er ceiniog y dydd, efe a'u hanfonodd hwy i'w winllan." A'r rhai cyntaf hyn yn unig y gwnaeth gytundeb. Efe a aeth allan y drydedd awr a'r chweched a'r nawfed awr, ac a welodd ereill yn sefyll yn segur yn y farchnadfa, a dywedodd wrthynt, "Ewch chwithau i'r winllan; a pha beth bynag a fyddo cyfiawn, mi a'i rhoddaf i chwi. Ac efe a aeth allan yn nghylch yr unfed awr ar ddeg, ac a gafodd ereill yn sefyll yn segur, ac a ddywedodd wrthynt, Paham y sefwch chwi yma ar hyd y dydd yn segur? Dywedasant wrtho, Am na chyflogodd neb nyni. Dywedodd yntau wrthynt, Ewch chwithau i'r winllan; a pha beth bynag fyddo çyfiawn, chwi a'i cewch." Yn yr hwyr, dywedodd arglwydd y winllan wrth ei oruchwyliwr, "Galw y gweithwyr, a dyro iddynt eu cyflog, gan ddechreu o'r rhai diweddaf hyd y rhai cyntaf;" a thalodd iddynt bob un geiniog. Y mae y rhai cyntaf yn y winllan, wrth weled y rhai olaf hyn yn derbyn ceiniog, yn disgwyl cael mwy; "a hwythau a gawsant bob un geiniog." Grwgnachasant am hyn. Y mae gwyneb y ddameg yn erbyn ysbryd masnachol yn ei deyrnas ef, ac ynddi cawn eglurhad ar y geiriau y bydd y rhai olaf yn mlaenaf trwy weithio yn ostyngedig a chywir er mwyn Crist; a'r rhai blaenaf yn

olaf trwy edrych yn ormodol ar hunanles ac elw iddynt eu hunain. Mae gan yr Arglwydd yn ei deyrnas yn y byd waith i ddynion ; y mae efe yn galw dynion yn weithwyr yn ei waith a'i winllan yn y byd. Y rhagorfraint uwchaf a'r fantais oreu i bechadur colledig a thlawd ydyw myned i wasanaeth yr Iesu. Y mae aml un trwy gael myned i fewn i wasanaeth meistr da, a thrwy ei wasanaethu yn dda, yn esgyn i safle uchel yn y byd. Anrhaethol fwy na chael myned i wasanaeth y goreu o ddynion ydyw cael myned i wasanaeth Brenin y brenhinoedd, ac Arglwydd yr Arglwyddi. Segurwyr yn ei olwg ef ydyw dynion tuallan i'w deyrnas; ac y mae segurwyr yn ei deyrnas weledig ar y ddaear yn dwyn arwyddion na phrofasant yr alwedigaeth nefol, ac na phrofasant ryddhad maddeuant trwy ei waed, fel ag i'w cymhell i'w garu a'i wasanaethu ef. Y mae yr Arglwydd yn y ddameg yn dysgu ei fod ef yn dda ac uniawn tuagat ei weithwyr. Ni wna gam â gwr yn ei fater. Dywed wrth yr hwn sydd yn grwgnach, "Y cyfaill, nid ydwyf yn gwneuthur cam â thi : onid er ceiniog y cytunaist â mi ? Cymer yr hyn sydd eiddot, a dos ymaith : yr ydwyf yn ewyllysio rhoddi i'r olaf hwn megis i tithau." Mynega yma ei benarglwyddiaethol ras i roddi i'w weithwyr fel y mae efe yn ewyllysio. "Ai nid cyfreithlawn," meddai, "i mi wneuthur a fynwyf â'r eiddot fy hun ? neu a ydyw dy lygad di yn ddrwg am fy mod i yn dda ?" A wyt ti yn edrych yn ddigofus am fy mod yn gwneyd i'r olaf hwn fel yr wyf yn ewyllysio ? Y mae y rhai a gyflogwyd yn y boreu yn y ddameg hon, a'r mab hynaf yn nameg y ddau fab, yn gyffelyb o ran eu hysbryd a'u hanfoddlonrwydd i ras Duw amlhau i'r iselradd. Yma y mae efe yn rhybuddio y bobl sydd yn edrych yn ormodol ar eu lles eu hunain o'u perygl o gael eu gosod yn olaf yn y diwedd, os nad cael eu cau allan o'i deyrnas ef ; "canys llawer," meddai, "sydd wedi eu

galw, ac ychydig wedi eu dewis." Beth bynag ydyw ystyr y geiriau, gellir gweled ynddynt rybudd o'r perygl o gael ein cau allan yn y diwedd wedi bod yn y winllan ar hyd y dydd.

Y mae y bobl sydd yn cael eu cyfrif yn uchel yn ei olwg ef yn cyfrif y pethau oedd elw iddynt yn golled er mwyn Crist. "Ië, yn ddiameu," meddai un ohonynt, "yr wyf yn cyfrif pobpeth yn golled, oherwydd ardderchawgrwydd Crist Iesu, fy Arglwydd ; er mwyn yr hwn y'm colledwyd yn mhob peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom fel yr enillwyf Grist." Nid gwerthfawr ganddo ei einioes ei hün er mwyn Crist. "Byw i mi yw Crist," meddai, "a marw sydd elw." Yr ydwyf fi yn byw i Grist, ac yr wyf yn barod i farw iddo ef.

### UCHELGAIS IAGO AC IOAN.

"Canys ni ddaeth Mab y dyn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac i roddi ei einioes yn bridwerth dros lawer."—MARC x. 45.

Y pryd hwn mynegodd yr Iesu yn eglur i'w ddysgyblion y drydedd waith ei fod yn myned i Jerusalem i'r gwarth, y dioddef, a'r marw, ac adgyfodi y trydydd dydd ; "a hwy ni ddeallasant ddim o'r pethau hyn, a'r gair hwn oedd guddiedig oddiwrthynt, ac ni wybuant y pethau a ddywedwyd." Er ymdrech yr Iesu i'w perswadio i gredu fod yn rhaid iddo fyned i'r groes a marw, ni fynent ddeall y pethau hyn, a chauent eu llygaid rhag edrych ar ei waradwydd, oherwydd llenwid eu bryd a'u meddyliau â gobeithion daearol. Gobeithient am ddyrchafiad yn y byd yn ddiau trwy eu cysylltiad â'u Harglwydd. Parhau i ddal gafael yr oeddynt yn y syniad Iuddewig, er ymdrech yr Athraw i'w dyrchafu i dir uwch. Fe aeth Iago, ac Ioan, a Salome eu mam, ato, gan ddeisyf rhywbeth ganddo. Yr oedd yddau hyn, gyda Phetr, wedi cael eu ffafrio trwy gael eu galw i fod gyda'r Iesu mewn amgylchiadau neillduol. Dechreuent obeithio

am ffafrau ychwanegol a mwy hefyd, wrth ystyried fod Salome, eu mam, fel y tybia rhai, yn chwaer i Mair mam yr Iesu, a barnent y buasai yn fanteisiol gwneyd eu cais trwy Salome, eu mam, yr hon a hoffid gan yr Iesu. Gellir tybio mai o'r meibion yn benaf ac nid o'r fam y tarddodd y deisyfiad hwn, er bod y fam yn barod i gymeryd rhan yn yr ymdrech, a chyflwynodd y deisyfiad ger ei fron gyda difrifwch ac anrhydedd. Ymostyngodd ger ei fron mewn addoliad. Gofynodd yr Iesu iddi, "Pa beth a fyni? Dywedodd hithau wrtho, Dywed am gael o'm dau fab hyn eistedd, y naill ar dy law ddehau, a'r llall ar dy law aswy, yn dy frenhiniaeth." Dywedodd wrthynt, "Ni wyddoch chwi beth yr ydych chwi yn ei ofyn. A ellwch chwi yfed o'r cwpan yr ydwyf fi ar yfed ohono, a'ch bedyddio â'r bedydd y bedyddir fi?" A ellwch chwi ddioddef fel myfi? A ellwch chwi ddal yr un triniaethau cyn esgyn i anrhydedd? Dymuno cael y goron heb y croesau yr oeddynt yn y cais hwn. Galwodd eu sylw at ei ddioddefiadau, y rhai oedd yn ymyl. Atebasant y gallent hwy yfed o'r un cwpan ag ef, a chymeryd eu bedyddio â'r un bedydd. "Diau," meddai, "yr yfwch o'r un cwpan." Cafodd Iago wybod yn fuan beth oedd profi chwerwder y cwpan trwy ddioddef marwolaeth er mwyn Crist. Profodd Ioan hefyd chwerwder cwpan y dioddef trwy gael ei alltudio i Patmos yn ei henaint. Profasant ar ol hyn mai trwy ymwadu â hwy eu hunain, a chodi y groes, y gallent ei ddilyn ef, a myned i mewn i'w ogoniant.

### YN DYSGU DRACHEFN PA FODD I FYNED I FYNY.

Nid oedd y deisyfiad hwn yn rhyngu bodd yr Iesu, er ei fod yn dyfod oddiwrth rai oedd yn hoff ganddo; ac nid oedd y cais hwn yn dderbyniol gan y deg ereill o'r apostolion. "A phan glybu y deg hyn, hwy a sorasant wrth y ddau frodyr." Galwodd yr Iesu hwynt ato, ac a

roddodd wers drachefn a thrachefn iddynt pa fodd i esgyn i wir anrhydedd. Dywedai mai nid trwy geisio dyrchafiad y mae ei gael, ond trwy fod yn ddigon gostyngedig i fod yn wâs i bawb: "a phwy bynag a fyno fod yn benaf yn eich plith, bydded yn wâs i chwi." Y mae efe ei hun yn myned o'u blaen yn y cyfarwyddyd hwn fel esiampl, cymhelliad, a chynorthwywr i wneuthur y cyfarwyddyd: "Canys ni ddaeth Mab y dyn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac i roddi ei einioes yn bridwerth dros lawer." Trwy edrych arno ef, a'i garu, a chyfranogi ohono, y gwnaed hwy yn gyffelyb iddo mewn gallu i ddioddef wrth wasanaethu ereill er ei fwyn ef.

# PENOD XVII.

*Yr Iesu yn rhoddi eu golwg i ddau ddeillion—Yn trugarhau wrth Zaccheus—Dameg y deg punt—Yn dysgu am ei frenhiniaeth ysbrydol—Yr Iesu yn dyfod i Bethania chwe' diwrnod cyn y Pasg—Yn aros yno am enyd i orphwyso—Yn marchogaeth i Jerusalem—Yn wylo dros y ddinas—Y plant yn ei glodfori yn y deml—Yntau yn eu cymeradwyo.*

"Ac a hwy yn myned allan o Jericho, tyrfa fawr a'i canlynodd ef. Ac wele, dau ddeillion yn eistedd ar fin y ffordd, pan glywsant fod yr Iesu yn myned heibio, a lefasant, gan ddywedyd, Arglwydd, fab Dafydd, trugarha wrthym."—MATTH. xx. 29, 30.

HANES am wr dall a roddir i ni gan Marc a Luc, a dywed Luc mai pan yn nesau at Jericho y llefodd y dall ar yr Iesu, ac nid ar ei ffordd o Jericho, yn ol Matthew a Marc. Dywed Bengel mai wrth fyned i Jericho y llefodd un, a'r llall boreu dranoeth, pan yr oedd yr Iesu yn myned o Jericho. "A boreu dranoeth," medd ef, "wrth fyned o Jericho, rhoddodd yr Iesu eu golwg i'r ddau ddeillion." Cyfarchent yr Iesu fel rhai wedi cael mesur o adnabyddiaeth ohono. "Arglwydd, Fab Dafydd," ydoedd yr enw arno fel y prophwyd y disgwylid am dano, yr hwn y dywedai yr addewid y byddai iddo agoryd llygaid y deillion, a chlustiau y byddariaid a agorid. Ceisiodd y dyrfa iddynt beidio llefain arno: "A'r dyrfa a'u ceryddodd hwynt, fel y tawent: hwythau a lefasant fwyfwy, gan ddywedyd, Arglwydd, fab Dafydd, trugarha wrthym." Nis gellir gwneyd i ffydd beidio llefain ar ei Harglwydd o gyfyng-

der. "A'r Iesu," medd yr hanes, "a safodd." Yr oedd llef ffydd y deillion hyn fel yn cau y ffordd o'i flaen, "ac a'i galwodd hwynt ato," a thosturiodd wrthynt trwy roddi iddynt eu golwg; "a hwy a'i canlynasant ef." Yr oedd canlyn yr Iesu yn ddefnydd naturiol ac ymarferol o'r drugaredd a dderbyniasant.

"Canys Mab y dyn a ddaeth i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid."—LUC xix. 10.

Yr oedd clywed hanes yr Iesu wedi cynyrchu awydd angerddol i gael ei weled mewn un a elwid Zaccheus, yr hwn oedd Iuddew o ran cenedl, a phublican o ran swydd; a'r hwn hefyd oedd gyfoethog, trwy orthrwm ac anghyfiawnder. Oherwydd ei fod yn fychan o gorpholaeth nis gallai weled yr Iesu, gan y dyrfa. Yr oedd y dyrfa yn cysgodi y Gwaredwr o'i olwg ef. Yr oedd ei awydd yn ddigon cryf i wneyd ymdrech trwy redeg o flaen y dyrfa, a dringo i sycamor-wydden, fel y gallai gael cipdrem ar y Ceidwad. Gosododd ei hun mewn lle manteisiol i'w lygaid daro arno. Ni fu ar ei golled o wneyd ymdrech i weled yr Iesu. Trodd yr ymdrech yn iachawdwriaeth iddo. Ni wyddai Zaccheus fod neb yn gwybod ei fod ef yn y sycamor-wydden, gan ei bod yn dewfrig. Ni phasiodd yr hwn a ddaeth i geisio y colledig y lle heb godi ei olwg i fyny. "A phan ddaeth yr Iesu i'r lle, efe a edrychodd i fyny, ac a'i canfu ef; ac a ddywedodd wrtho, Zaccheus, disgyn ar frys: canys rhaid i mi aros heddyw yn dy dŷ di." Os rhedodd efe o flaen y dyrfa, ac os gwnaeth efe frys i ddringo y sycamor-wydden, er mwyn cael ei weled, pan glywodd lais yr Iesu yn ei alw, ac yn mynegu iddo mewn dull brenhinol ei fod i aros yn ei dŷ, "efe a ddisgynodd ar frys, ac a'i derbyniodd yn llawen." Y dyrfa a rwgnachasant oherwydd iddo fyned i letya at wr pechadurus. Cadwodd ei wisgoedd yn lân yn mysg publicanod a phechaduriaid. Y dihalog a'r didoledig oddiwrth bechaduriaid oedd efe er bod gyda

hwynt. Y mae y publican gorthrymus ac anghyfiawn hwn yn dangos fod cyfnewidiad wedi ei wneyd ynddo. Safodd i fyny, "ac a ddywedodd wrth yr Arglwydd, Wele, haner fy nâ, O Arglwydd, yr ydwyf yn ei roddi i'r tlodion ; ac os dygais ddim o'r eiddo neb trwy gamachwyn, yr ydwyf yn ei dalu ar ei bedwerydd." Y mae yr hanes yn galw ein sylw at gyfnewidiad trwyadl yn y dyn hwn. Darfu llais yr Iesu yn ei alw, a'i gydnabod wrth ei enw, a chydnabod ei awydd i gael ei weled trwy ddatguddio ei hun iddo, beri iddo ei dderbyn i orsedd ei galon ; a buan iawn wedi iddo esgyn i orsedd ei galon ef yr unionodd yr Iesu ei fywyd gwyrgam. Y mae yma ddau lais yn yr hanes—llais yr Iesu yn galw a llais Saccheus yn cyfaddef ei bechodau. Gwnaed gwaith mawr rhwng y ddau lais, effeithiau yr hwn a ymddangosodd yn ebrwydd yn mywyd Zaccheus. Gwnaed yr anghyfiawn yn gyfiawn, y brwnt yn garedig, a gorthrymwr y tlodion yn haelionus a thosturiol wrthynt. Mae y Gwaredwr yn gosod ei sel ei hun o gymeradwyaeth ar y gwaith a wnaeth trwy ddyweyd, "Heddyw y daeth iachawdwriaeth i'r tŷ hwn, oherwydd ei fod yntau yn fab i Abraham." Profodd foddlonrwydd a llawenydd, debygem, yma yn ei ysbryd ei hun, ac yn ei ymdrech yn ceisio y colledig wrth weled egwyddorion ei deyrnas yn ymddangos mor amlwg yn y colledig hwn. Iachawdwriaeth yn y tŷ sydd yn ei wneyd yn gyfoethog. Ty tlawd ydyw y tŷ pa faint bynag o oludoedd a mwynderau y byd sydd ynddo os heb iachawdwriaeth ynddo, a thŷ cyfoethog ydyw y tŷ, pa mor dlawd a chyffredin bynag y gall efe fod mewn ystyr dymhorol, os ydyw yr iachawdwriaeth ynddo. Gwahoddwn yr Iesu i'r tŷ: oherwydd efe a ddwg iachawdwriaeth gydag ef.

DAMEG Y DEG PUNT.

Gwelai yr Iesu y meddwl oedd yn troi yn meddyliau y dyrfa. Tybient y buasai efe yn cymeryd mantais ar y

lluaws yn Jerusalem, yn y Pasg cyfagos, i osod ei hun yn frenin daearol trwy ei allu ei hun. Llefarodd ddameg i ddysgu am dano ei hun fel brenin mewn ystyr anrhaethol uwch nag oedd yn eu meddyliau hwy. Meddai, "Rhyw wr boneddig a aeth i wlad bell i dderbyn teyrnas iddo ei hun, ac i ddychwelyd." Yr oedd yn wybyddus i'r Iuddewon am Archelaus yn myned i Rufain i ofyn i'r ymerawdwr i roddi iddo y llywodraeth, yr hon adawodd Herod ei dad iddo yn ei ewyllys, a gwyddent i rai ohonynt hwy anfon at yr ymerawdwr, gan ddywedyd, "Ni fynwn ni hwn i deyrnasu arnom."

"Ac wedi galw ei ddeg gwas, efe a roddes iddynt ddeg punt, ac a ddywedodd wrthynt, Marchnatewch hyd oni ddelwyf." Dychwelodd y boneddwr wedi derbyn y llywodraeth, a galwodd ei weision i roddi cyfrif iddo o'r defnydd a wnaethent o'r arian a roddodd iddynt i farchnata. Dywedodd y cyntaf, "Arglwydd, dy bunt a enillodd ddeg punt." Ei arglwydd a ddywedodd wrtho, "Da, was da: am i ti fod yn ffyddlawn yn y lleiaf, bydded i ti awdurdod ar ddeg dinas." A derbyniodd yr hwn a enillodd â'i bunt bum' punt yntau bum' dinas; ond cuddiodd un y bunt mewn napcyn. Dywedodd, "Arglwydd, wele dy bunt, yr hon oedd genyf wedi ei dodi mewn napcyn: canys mi a'th ofnais, am dy fod yn wr tost: yr wyt ti yn cymeryd i fyny y peth ni roddaist i lawr, ac yn medi y peth ni heuaist." "O'th enau dy hun y'th farnaf, tydi was drwg," meddai ei arglwydd. Gan dy fod ti yn gwybod fy mod i yn wr tost, dylasit roddi fy arian i'r hwn a fuasai yn gwneyd defnydd ohonynt, fel y gallwn dderbyn fy eiddo fy hun gyda llog. Dywed wrth y rhai a safai gerllaw, "Dygwch oddiarno ef y bunt, a rhoddwch i'r hwn sydd a deg punt ganddo; canys yr wyf yn dywedyd i chwi, mai i bob un y mae ganddo, y rhoddir iddo; eithr oddiar yr hwn nid oes ganddo, y dygir oddiarno, ïe, yr hyn sydd ganddo." A

chyda golwg ar ei elynion, y rhai ni fynent iddo deyrnasu arnynt, dywed, "Dygwch hwynt yma, a lleddwch ger fy mron i."

Yn y ddameg, y mae efe yn rhybuddio y genedl am y canlyniadau o'i wrthod ef i deyrnasu arnynt fel eu Brenin, eu Ceidwad, a'u Duw. Y mae yma rybudd hefyd yn y ddameg i'r dysgyblion, y rhai sydd wedi derbyn ymddiriedaeth, rhag bod yn esgeulus a difater i wneyd defnydd priodol o'r ymddiriedaeth a dderbyniasant. Cawn yma hefyd gymhelliad i ffyddlondeb yn y lleiaf. Y mae y ffyddlawn yn enill deg dinas a phump dinas trwy farchnata gydag un bunt.

### CRIST YN FRENIN A BARNWR.

Mae ein Harglwydd yn ei ddarostyngiad a'i ufudd-dod hyd angeu y groes wedi derbyn llywodraeth gan Dduw Dad, ac wedi derbyn pob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear; rhoddodd y Tad iddo hefyd awdurdod i wneuthur barn, oherwydd ei fod yn Fab y dyn. Efe ydyw Barnwr y byw a'r meirw. Gelynion i'r Barnwr yn y farn fydd y rhai na fynant iddo ef deyrnasu arnynt yn y byd, a gelynion iddo fydd y rhai nad ydynt yn gwneyd defnydd priodol o'u proffes ohono. Ychydig o ddyddiau ar ol hyn gwaeddai y genedl "Ymaith âg ef: croeshoelier ef." Ni fynwn ni hwn i deyrnasu arnom. Judas, ac efe yn un o'r deuddeg, a'i bradychodd ef. Bydd y farn yn troi ar bobl gwlad Efengyl yn ol eu hymddygiad at y Brenin a'r Barnwr.

### DYFOD CHWE' DIWRNOD CYN Y PASG I BETHANIA.

"Yna yr Iesu, chwe' diwrnod cyn y Pasg, a ddaeth i Bethania."—IOAN xii. 1.

"Crist mewn pryd a fu farw dros yr annuwiol." Daeth i Bethania chwe' diwrnod cyn y Pasg. Yr oedd

y ffordd o Jericho i Bethania yn faith a blinderus ; a chan ei fod yn ddyn wedi ei amgylchynu â gwendid wedi bod yn llafurio yn Jericho, a theithio tua pymtheng milldir i Bethania, gorphwysdra iddo oedd cael cyrhaedd y llety caredig tua thri o'r gloch prydnawn ddydd Gwener. Yr oedd y Sabbath yn dechreu chwech o'r gloch nos Wener. Hwn ydoedd y Sabbath diweddaf i'r Iesu : y Sabbath dilynol yr oedd efe wedi gorphen ei waith, ac yn gorphwys o ran ei gorph yn medd newydd Joseph. Wele y deg wythnos a thriugain yn y broph-wydoliaeth wedi d'od i'r wythnos ddiweddaf, "i ddibenu camwedd, ac i selio pechodau, ac i wneuthur cymod dros anwiredd, ac i ddwyn cyfiawnder tragywyddol." Wythnos fawr oedd wythnos y greadigaeth, ond wele wythnos fwy, sef yr wythnos y dioddefodd ein Hiachawdwr, ac yr offrymodd ei hun yn aberth ac yn offrwm difai i Dduw. Yn yr wythnos hon y dywedodd efe "Gorphenwyd," ac yn yr wythnos hon yr oedd amgylchiadau mwyaf ei oes i gymeryd lle. Rhoddodd restr o amgylchiadau yr wythnos fawr hon fwy nag unwaith i'r dysgyblion. Y rhestr ydynt : Mab y dyn yn cael ei draddodi i'r archoffeiriaid a'r ysgrifenyddion, ei gondemnio i farwolaeth, ei draddodi i'r Cenhedloedd i'w watwar ac i'w fflangellu, ac i'w groeshoelio a'i ladd, a'r trydydd dydd adgyfodi.

Yr oedd amgylchiadau yr wythnos fawr hon yn noeth ac yn agored o'i flaen ef. Arhosodd y Sabbath diweddaf mewn tawelwch gyda'r teulu caredig yn Bethania, fel pe buasai yn dymuno cael ychydig oriau i orphwyso cyn dechreu ar waith yr wythnos ryfedd hon. Yr oedd amgylchiadau yr wythnos yn fyw yn ei feddwl ; ac oherwydd ei fod yn berffaith ddyn, diau fod pryder yn ei feddwl o berthynas i'r wythnos ddyfodol. Er fod ei gariad yn gryf ac angerddol, trwy wendid y ddynoliaeth

gwr gofidus a chynefin â dolur oedd efe. Pe yr edrychem arno fel un ohonom ni, buasem yn meddwl fod amgylchiadau yr wythnos yn d'od i'w feddwl y naill ar ol y llall. Os oedd yn dda iddo gael bod gyda'r teulu hoff mewn tawelwch y Sabbath diweddaf, yr oedd y tawelwch hefyd yn fanteisiol i amgylchiadau yr wythnos dd'od o flaen ei feddwl. Deuai, debygem, ymdrech gardd Gethsemane i'w feddwl, a Judas gyda'r milwyr a lanternau a lampau yn d'od i'w ddal; rhoddi ei hun i fyny i'r archoffeiriaid a'r ysgrifenyddion i'w brofi, a'i ddwyn o flaen Pilat. Amgylchiad mawr i un sanctaidd oedd sefyll i gael ei brofi o flaen rhagrithwyr drwg a llygredig. Gwelai o flaen ei feddwl ddioddef, ei watwar, a'i fflangellu gan Rufeiniaid calon-galed; a mwy na holl brofedigaethau wythnos ddiweddaf ei oes ydoedd cuddiadau gwyneb ei Dad. Edrychai ar y Tad yn deffro y cleddyf i daro yr hwn oedd anwyl ganddo. Gallasai y Tad ddyweyd wrtho, Yr ydwyf fi yn d'od yn dy erbyn am y tro cyntaf erioed. Enaid ei ddioddefiadau oedd cuddiadau gwyneb ei Dad.

Cadwodd yr holl amgylchiadau a'r pryder a allasai fod ar ei feddwl yn gwbl iddo ei hun: nid oedd yn dewis aflonyddu ar dangnefedd y teulu cysurus hwn; ni fynegodd i'r teulu y profedigaethau mawrion oedd yn ei ymyl. Feallai mai tebyg i gyfarwyddyd Petr fuasai yr eiddynt hwythau—"Trugarha wrthyt dy hun," neu rywbeth cyffelyb. Gofalus iawn oedd efe na byddai i'w bresenoldeb dynu oddiwrth gysur y teulu. Ac er ei fod gyda theulu tawel mewn lle o'r neilldu, nid oedd yn bosibl iddo gael tawelwch yn hir. Tyrfa fawr o'r Iuddewon a ddaethant i aflonyddu ar ei dawelwch, nid er mwyn yr Iesu yn unig, ond fel y gwelent Lazarus hefyd.

## YN MARCHOGAETH I JERUSALEM.

"Bydd lawen iawn, ti ferch Seion; a chrechwena, ha ferch Jerusalem. Wele, dy frenin yn dyfod atat: cyfiawn ac achubydd yw efe; y mae efe yn llariaidd, ac yn marchogaeth ar asyn, ac ar ebol llwdwn asen."—ZECH. ix. 9.

Wedi aros dros y Sabbath yn Bethania daeth efe a'i ddysgyblion, y dydd cyntaf o'r wythnos, neu y Sabbath yn ol ein cyfrif ni, yn y boreu a chychwynasant tua Jerusalem. Arferai fyned i Jerusalem fel dyn cyffredin; ond y boreu hwn y mae yn marchogaeth ar ebol asen mewn rhwysg a llawenydd brenhinol. Gwrthodai arddangosiadau o deimladau molianus y bobl iddo. Yr oedd ei orchymynion i beidio ei ganmol yn cael eu tori yn lled aml gan y rhai a dderbynient ei waredigaethau: "a hwy," medd yr hanes, "a'i clodforasant ef trwy yr holl wlad hono." Trwy ei allu i gyfarfod â phob math o anghenion, a melusdra ei eiriau a phereidd-dra ei lais, gallasai feddianu poblogrwydd digyffelyb. Gwrthododd ein Gwaredwr ganmoliaeth dynion heb eu sancteiddio trwy ei waed; ond yma y mae efe yn esgyn i Jerusalem mewn rhwysg brenhinol. Hyd yn hyn nid oedd wedi gwneyd cyhoeddiad ohono ei hun fel Brenin Seion; ond yma dywed mewn modd cyhoeddus, "Wele dy Frenin yn dyfod i ti yn addfwyn, ac yn eistedd ar asen, ac ebol llwdn asen arferol â'r iau." Yr oedd ffurf ei fynediad i Jerusalem y waith hon yn gosod y penaethiaid a'r bobl mewn sefyllfa i'w dderbyn neu ei wrthod ef. "Ewch i'r pentref sydd ar eich cyfer," meddai wrth ddau o'i ddysgyblion, "ac yn y fan chwi a gewch asen yn rhwym ac ebol gyda hi: gollyngwch hwynt, a dygwch ataf fi. Ac os dywed neb ddim wrthych, dywedwch, Y mae yn rhaid i'r Arglwydd wrtho. Ac yn y fan efe a'u denfyn hwynt." Rhydd Marc a Luc hanes yr ebol yn unig, "ar yr hwn nid eisteddodd dyn erioed." Y ddau

ddysgybl a aethant yn ol ei orchymyn, ac a gawsant fel y dywedasai efe. Dywedasant pan y gofynodd y perchenog paham y gollyngent yr asen a'r ebol, fod yn rhaid i'r Arglwydd wrthynt. Anfonodd efe y ddau ddysgybl gydag awdurdod brenhinol, ac os un o ddysgyblion yr Iesu ydoedd perchenog yr asen a'r ebol, llawenychai yn ddiau wrth weled ei Arglwydd yn gwneyd defnydd o'i eiddo ef. A hwy a ddygasant yr ebol at yr Iesu, a bwriasant eu dillad arno, ac efe a eisteddodd arno, "ar yr hwn nid eisteddodd neb;" a chydgerddodd yr asen â'r orymdaith. Gwnaeth hyn fel y cyflawnid y brophwydoliaeth am dano. Dymunai anrhydeddu a chadw y Gair sanctaidd trwy gyflawni y brophwydoliaeth am dano: "Megis y mae yn ysgrifenedig, Nac ofna, ferch Seion: wele, y mae dy Frenin yn dyfod, yn eistedd ar ebol asen." Nid fel rhyfelwr y marchogodd efe i Jerusalem, ond fel Brenin heddwch, yn addfwyn a gostyngedig, yn eistedd ar ebol asen. Parod ac ufudd ydoedd yr ebol i anrhydeddu ei Greawdwr a'i Gynhaliwr. Ysbail ac anrhaith rhyfel ydyw arwyddion buddugoliaeth brenhinoedd y byd; ond carcharorion wedi eu rhyddhau oedd yn anrhydeddu Brenin Seion yn ei esgyniad i Jerusalem. Yr oedd yno luaws o'i ddysgyblion, y rhai a'i carent ef. Yn mysg y rhai a daenasant eu dillad ar y ffordd yr oedd y deillion yr agorodd efe eu llygaid hwynt, debygem. Diau fod y cloffion a wnaeth efe i rodio yn mysg y rhai oedd yn myned o'r blaen, ac yn addurno y ffordd â changau o'r gŵydd. Cariai y cleifion gwahanol a lanhaodd efe oddiwrth eu hafiechyd balmwydd yn eu dwylaw i anrhydeddu y Brenin. Gwneid y dyrfa i fyny o amrywiaeth. "Ac weithian," medd yr hanes, "ac efe yn nesau at ddisgynfa mynydd yr Olewydd, dechreuodd yr holl luaws dysgyblion lawenhau, a chlodfori Duw â llef uchel, gan ddywedyd, Bendigedig yw y Brenin sydd yn dyfod yn enw yr

Arglwydd. Tangnefedd yn y nef, a gogoniant yn y goruchaf. Bendigedig yw y deyrnas sydd yn dyfod yn enw Arglwydd ein tad Dafydd. Hosanna yn y goruchafion." "Athraw," meddai y Phariseaid, "cerydda dy ddysgyblion." "Pe tawai y rhai hyn," meddai, "y llefai y cerig yn y fan." Rhaid ei ddyrchafu. Nid oes neb dan gymaint o rwymau i'w ddyrchafu a'i bobl. Mwynhad iddo ef yn ddiau ydoedd mawl a chlodforedd ei ddysgyblion cyn dioddef ohono; ond yn nghanol yr anrhydedd a'r mawl, dacw fe yn wylo dros y ddinas: "Pan welodd efe y ddinas, efe a wylodd drosti." Profodd lawenydd, tristwch, a galar yn yr amgylchiad hwn. Pan gyrhaeddasant y ddinas, gofynodd y bobl, "Pwy yw hwn? a'r torfeydd a ddywedasant, Hwn yw Iesu, y Prophwyd o Galilea." Cyhoeddwyd ef yn yr amgylchiad hwn yn Frenin ac yn Brophwyd.

"A'r Iesu a aeth i mewn i Jerusalem, ac i'r deml."—MARC xi. 11.

Ar ol iddo farchogaeth fel Brenin i Jerusalem a myned i'r deml, ni pheidiodd drugarhau, yn ol ei arfer, wrth y deillion a'r cloffion, y rhai a ddaethant ato yn y deml; "ac efe a'u hiachaodd hwynt." Parhaodd y plant yn y deml i roddi clod a mawl i'r Gwaredwr. Os bydd brwdfrydedd yn yr awyrgylch, y mae y plant yn debyg o'i brofi a'i ddangos trwy lefain. Buan y profasant y brwdfrydedd i anrhydeddu Brenin Seion: gwaeddent yn y deml, "Hosanna i fab Dafydd." "A wyt ti yn clywed beth y mae y rhai hyn yn ei ddywedyd?" gofynai yr archoffeiriaid a'r ysgrifenyddion iddo. "Ydwyf," meddai'r Iesu; ac yn lle gwrthod banllefau y plant yn ei glodfori, y mae yn eu cymeradwyo, gan fynegu i'r grwgnachwyr fod Duw, o enau plant bychain a rhai yn sugno, yn perffeithio moliant. "Oni ddarllenasoch chwi erioed," meddai, "O enau plant bychain a rhai yn sugno y perffeithiaist foliant." Mae Duw yn perffeithio

ei foliant trwy leisiau unplyg a diymffrost y plant bychain.

Hwn ydoedd y dydd yr oedd oen y Pasg i gael ei neillduo i'w aberthu, ac ar y dydd hwn y mae Oen Duw yn cyhoeddi ei hun yn Frenin iddynt.



[CARMEL.]

# PENOD XVIII.

---

*Yr Iesu yn myned heibio y ffigysbren ddiffrwyth—Yn glanhau y deml yr ail waith—Yn anog y dysgyblion i ffydd a maddeugarwch—Y penaethiaid yn ei holi am ei awdurdod—Yr Iesu yn eu holi hwy am fedydd Ioan—Dameg y ddau fab—Dameg y winllan—Dameg priodas mab y brenin—Yn cyfarfod y Phariseaid a'r Herodaniaid yn nghylch talu teyrnged i Cesar—Yn distewi y Saduceaid yn nghylch yr adgyfodiad, ac yn dynoethi eu cyfeiliornadau—Yn ateb y cyfreithiwr o berthynas i orchymyn mawr y gyfraith—Yn gofyn iddynt hwy pa fodd yr oedd yn Fab Dafydd ac yn Arglwydd iddo—Yn cynghori y torfeydd a'r dysgyblion i ochel tebygolrwydd i'r Phariseaid a'r ysgrifenyddion—Yn dynoethi eu rhagrith—Yn ocheneidio uwchben Jerusalem.*

---

### Y FFIGYSBREN DIFFRWYTH.

"A hi weithian yn hwyr, efe a aeth allan i Bethania gyda'r deuddeg."—MARC xi. 11.

ATHRANOETH, sef boreu yr ail ddydd—boreu Llun —cyfeiriodd efe a'i ddysgyblion i Jerusalem, ac yr oedd arno chwant bwyd. Pa fodd felly? A aeth efe i'r mynydd neu i le anghyfanedd yn blygeiniol o'r llety i weddïo? neu a oedd yno rhyw ddysgybl yn Jerusalem yn ei ddisgwyl i gael boreufwyd gydag ef? Ni ddywedir i ni paham yr oedd chwant bwyd arno: ni chawn ond hysbysiad o'r ffaith. "Ac wedi iddo ganfod o hirbell ffigysbren âg arno ddail, efe a aeth i edrych a gaffai ddim arno. A phan ddaeth ato, ni chafodd efe ddim ond y dail: canys nid oedd amser ffigys." Ond yr oedd

y dail yn tystiolaethu i'r teithydd fod yno ffrwyth ar y pren ; ond pan y daeth efe ato nid oedd yno ddim ond y dail. Dyma ddarlun cywir o broffes uchel heb gyflawni y broffes. Gwelai efe yn y ffigysbren hwn ragrith penaethiaid crefydd yn ei oes. Gwneyd y cwbl fel yr ymddangosent i ddynion. Dywedodd wrth y ffigysbren diffrwyth, "Na thyfed ffrwyth arnat byth mwyach. Ac yn ebrwydd y crinodd y ffigysbren." Y mae efe yn disgwyl ffrwyth ysbrydol ar bobl yn proffesu crefydd. Disgwylir grawnwin ar y winwydden wedi ei phlanu yn y winllan, a ffigys ar ffigysbren pan wedi ei blanu mewn lle manteisiol i ddwyn ffrwyth. Ffrwyth yn ogoniant i'r Tad a ofynir ac a ddisgwylir ar y bobl sydd yn proffesu crefydd, y rhai sydd yn meddianu manteision i ddwyn ffrwyth. Agwedd beryglus ydyw agwedd ddiffrwyth ; ar y ffordd i grino y mae y pren diffrwyth, ac ar y ffordd i grino y mae y crefyddwr diffrwyth. Dywed yr Iesu wrth y ffigysbren diffrwyth, "Na thyfed ffrwyth arnat byth mwyach ;" a chrino ydyw canlyniad uniongyrchol peidio dwyn ffrwyth : "ac yn ebrwydd y crinodd y ffigysbren." Os ydym yn dwyn ffrwyth i ogoniant Duw, yr ydym ar dir i dderbyn ei gymeradwyaeth ef ; ac os heb ddwyn ffrwyth yr ydym, er meddianu y manteision, nis gallwn ddisgwyl ei gymeradwyaeth.

A'r Iesu a aeth i mewn i deml Dduw, a dangosodd yr ail waith zêl tŷ ei Dad trwy lanhau y deml o'r gwerthwyr â'r prynwyr : dymchwelodd i lawr fyrddau y newidwyr arian, a chadeiriau y rhai oedd yn gwerthu colomenod. "Onid yw yn ysgrifenedig," gofyna, "y gelwir fy nhŷ i yn dŷ gweddi i'r holl genhedloedd ? ond chwi a'i gwnaethoch yn ogof lladron." "Ac yr oedd efe beunydd yn athrawiaethu yn y deml." Hoffai y bobl wrando arno pan y ceisiai y penaethiaid ei ddifetha. Ymneillduodd i Bethania yn y prydnawn, ac oddiyno ciliodd i'r mynydd i weddïo ; a'r boreu, sef boreu ddydd Mawrth

yn ol ein hamser ni, wrth fyned heibio, hwy a welsant y ffigysbren wedi crino o'r gwraidd. Rhyfeddodd y dysgyblion am hyn, gan ddywedyd, "Mor ddisymwth y crinodd y ffigysbren."

Y mae efe yma yn eu hanog i feithrin ffydd gref yn Nuw er mwyn gorchfygu anhawsderau yn eu gwaith drosto ef yn y byd. Bydded genych ffydd yn Nuw, meddai; gyda ffydd gref yn Nuw, pe byddai y rhwystrau ar ffordd llwyddiant fy nheyrnas fel y mynydd hwn, sef mynydd yr Olewydd, gellwch ddywedyd wrtho, Coder di i fyny, a bwrier di i'r môr, hyny a fydd. Gofalwch, meddai, pan yn gweddïo fod genych ffydd gref yn Nuw, a chredwch y derbyniwch; a phan safoch i weddïo gofalwch am fod ynoch deimladau a dymuniadau da tuagat eich cyd-ddynion. Y mae ffydd ddiffuant yn cynwys teimladau a dymuniadau da tuagat ddynion. Nid oes ffydd gref yn Nuw yn y galon sydd yn meithrin digofaint at ddynion. Gan hyny, meddai, pan "safoch i weddïo, maddeuwch, o bydd genych ddim yn erbyn neb, fel y maddeuo eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd i chwithau eich camweddau." Gofalwch am fod eich meddwl a'ch calon yn lân oddiwrth ddigofaint at ddynion; a'r ffordd i lanhau y galon oddiwrth ddigofaint ydyw trwy faddeu.

Gofynodd yr archoffeiriaid a henuriaid y bobl iddo, "Trwy ba awdurdod yr wyt ti yn gwneuthur y pethau hyn? a phwy a roddes i ti yr awdurdod hon?" Yr oedd glanhau y deml o'r marchnatwyr wedi cynhyrfu ei elynion yn ei erbyn, a chymerasant achlysur oddiwrth ei fynegiad cyhoeddus ohono ei hun fel brenin, i alw gallu Rhufain i'w brofi. Penderfynasant anfon rhai o benaethiaid mwyaf eu dylanwad yn eu mysg at yr Iesu, i geisio cael peth yn ei erbyn, trwy ofyn iddo trwy ba awdurdod yr oedd efe yn gwneyd y pethau hyn, y rhai oedd yn tynu y bobl ar ei ol. Nid atebodd yr Iesu y

cwestiwn, gan ei fod yn gweled eu bwriad. Disgwylient iddo fynegu iddynt ei fod wedi d'od o'r nef, a bod ei awdurdod yn ddwyfol. Nid oedd yn dewis myned i'w gafael trwy eu dichell hwy. Cyn i mi ateb eich cwestiwn, meddai, y mae yn briodol i chwi ateb un cwestiwn am Ioan, ac wedi i chwi ateb un cwestiwn i mi, minau a fynegaf i chwi trwy ba awdurdod yr ydwyf yn gwneuthur y pethau hyn. "Bedydd Ioan: o ba le yr oedd, ai o'r nef ai o ddynion?" Anfonwyd Ioan gan Dduw i barotoi y ffordd o'i flaen ef trwy bregethu edifeirwch. Fe ddaeth yn dystiolaeth fel y tystiolaethai am y goleuni. Ni chredasant hwy dystiolaeth Ioan am dano ef, ac nid edifarhasant am eu pechodau. Cyfrifid Ioan gan y bobl yn brophwyd.

Wedi ceisio cael yr Iesu i'w rhwyd, disgynasant eu hunain i'r rhwyd a wnaethpwyd ganddynt hwy. Yn eu dyryswch, dywedant wrth eu gilydd, Os dywedwn, O'r nef; efe a ddywed, Paham gan hyny na chredech iddo? Ac os dywedwn, O ddynion; yr holl bobl a'n llabyddiant ni: canys y maent hwy yn cwbl-gredu fod Ioan yn brophwyd. Dywedasant, Ni wyddom ni. Gan hyny, nid ydych yn meddu cymhwysder i dderbyn fy atebiad i. Dywedodd wrthynt, "Ac nid wyf finau yn dywedyd i chwi trwy ba awdurdod yr wyf yn gwneuthur y pethau hyn."

### DAMEG Y DDAU FAB.

Ceisiodd drachefn ddangos iddynt y sefyllfa beryglus yr oeddynt ynddi. Dangosai ei gariad tragywyddol at ddyn yn ei ymdrech i oleuo ei wrthwynebwyr am y perygl yr oeddynt ynddo o'i wrthod ef, a marw yn eu pechodau. Beth dybygwch chwi, meddai, yr oedd gan wr ddau fab. Dywedodd wrth y cyntaf, Fy mab, dos, gweithia heddyw yn fy ngwinllan. Dywedodd, Nid af; ond wedi hyny efe a edifarhaodd, ac a aeth.

Dywedodd yr un modd wrth yr ail, a dywedodd ef, Myfi a af, arglwydd; ac nid aeth efe. Pa un o'r ddau, gofynodd, a wnaeth ewyllys ei arglwydd? Dywedasant, Y cyntaf. Cyffelyb i'r ail ydych chwi, meddai. Daeth Ioan atoch yn ffordd cyfiawnder, a llefarodd yn erbyn eich pechodau, ac yr oeddych yn barod i gydnabod ei argyhoeddiadau; ond nid edifarhasoch fel y credech ei dystiolaeth am danaf fi. Cyffelyb ydych i'r mab yn proffesu ei barodrwydd i fyned i'r winllan i weithio, ac heb ddim ond proffes. Proffes uchel heb wneyd dim ydyw eich hanes chwi. Yn wir meddaf i chwi, yr ä y publicanod a phuteiniaid i mewn i deyrnas Dduw o'ch blaen chwi. Er eu bod yn bechaduriaid cyhoeddus, credasant hwy i Ioan. Y mae y bobl yr ydych yn edrych arnynt fel rhai peryglus i droi yn eu mysg yn eich condemnio chwi trwy edifarhau a chredu tystiolaeth Ioan am danaf fi.

## DAMEG Y WINLLAN.

"Ac yn ddiweddaf oll efe a anfonodd atynt ei fab ei hun, gan ddywedyd, Hwy a barchant fy mab i."—MATTH. xxi. 37.

Llefarodd yr Iesu ddameg arall i'w hargyhoeddi o'u pechod o'i wrthod ef. Yr oedd pechodau eu tadau yn arwain i un pechod mawr ynddynt hwy. Dirmygu cenhadon y nefoedd ydyw hanes eich tadau, meddai yr Iesu; yr ydych chwithau yn dilyn yr un llwybr, ond eich bod yn myned yn bellach na hwy: yr ydych chwi wedi anmharchu yr hwn a anfonwyd gan Dduw i barotoi y ffordd o flaen ei Anfonedig ef; ac yr ydych yn anmharchu y Mab ei hun, am yr hwn y tystiolaethodd y cysgodau a'r prophwydi.

Clywch ddameg arall. Gwr "a blanodd winllan, ac a ddododd gae o'i hamgylch, ac a gloddiodd ynddi winwryf, ac a adeiladodd dŵr, ac a'i gosododd hi allan i lafurwyr, ac a aeth oddicartref. A phan nesaodd amser

ffrwythau, efe a ddanfonodd ei weision at y llafurwyr, i dderbyn ei ffrwythau hi. A'r llafurwyr a ddaliasant ei weision ef, ac un a gurasant, ac arall a laddasant, ac arall a labyddiasant.. Trachefn, efe a anfonodd weision ereill, fwy na'r rhai cyntaf: a hwy a wnaethant iddynt yr un modd. Ac yn ddiweddaf oll, efe a anfonodd atynt ei fab ei hun." "Am hyny eto," medd Marc, "a chanddo un mab, ei anwylyd, efe a anfonodd hwnw hefyd atynt yn ddiweddaf, gan ddywedyd, Hwy a barchant fy mab i. Ond y llafurwyr hyny a ddywedasant yn eu plith eu hunain, Hwn yw yr etifedd: deuwch, lladdwn ef, a'r etifeddiaeth fydd eiddom ni. A hwy a'i daliasant ef, ac a'i lladdasant, ac a'i bwriasant allan o'r winllan." "Am hyny pan ddêl arglwydd y winllan, pa beth a wna efe i'r llafurwyr hyny?" Nid oedd ond un ateb i'w roddi: "Hwy a ddywedasant wrtho, Efe a ddyfetha yn llwyr y dynion drwg hyny, ac a esyd y winllan i lafurwyr ereill, y rhai a dalant iddo y ffrwythau yn eu hamserau."

Yr oedd gwirioneddau y ddameg yn dyrysu meddyliau rhai ohonynt. Dywedent, Na ato Duw. Edrychodd yr Iesu arnynt yn llawn a sefydlog, i'w sicrhau am wirioneddau y ddameg. Gadewch i mi gael eich sylw, meddai, at y gair hwn: "Y maen a wrthododd yr adeiladwyr, hwnw a wnaed yn ben y gongl." "A phwy bynag a syrthio ar y maen hwn, efe a ddryllir: ac ar bwy bynag y syrthio, efe a'i mâl ef yn chwilfriw." Israel oedd y winllan, yr hon a blanodd Duw ei hun. Ei amddiffyniad ef a'i cadwodd hi rhag cael ei dyfetha gan ei gelynion. Ei dŵr ef oedd y tabernacl a'r deml, yr hon a adeiladodd efe trwy ereill. Yn y tabernacl a'r deml yr oedd y Shecinah dwyfol, arwydd o'i bresenoldeb gyda hwy, ei arweiniad a'i amddiffyniad drostynt. Yn sancteiddiolaf y deml yr oedd arch y dystiolaeth, yn yr hon yr oedd y gyfraith; ar, ac o flaen y drugareddfa y tywelltid y

gwaed. O berthynas iddi dywedodd Duw, "Mi a gyfarfyddaf â thi yno'"

Y llafurwyr oeddynt ddilynwyr Moses—yr offeiriaid a'r Lefiaid, Rabbiniaid, Phariseaid, a'r Ysgrifenyddion, i'r rhai y gosododd efe ei winllan i'w llafurio, ac a aeth megis oddicartref. Y gweision a anfonodd efe yn amser ffrwythau ydoedd ei weision y prophwydi hyd Ioan, y rhai a anmharchwyd gan y llafurwyr, ac a anfonwyd ymaith yn waglaw. Y mae yr Arglwydd yn eiddigeddus dros ei weision, a ddanfonwyd ganddo ef ei hun. Y mae efe yn ystyried fod ymddygiadau dynion tuagat ei weision i'w hystyried yn ymddygiadau tuagato ef ei hun. Anmharchu y gweision a anfonodd Duw i geisio ffrwyth ar ei winllan wnaeth y llafurwyr: "un a gurasant, arall a laddasant, ac arall a labyddiasant.' Yr oedd anmharchu y gweision yn llenwi y gwpan âg anwiredd. Ond anmharchu y Mab a lanwodd y gwpan yn llawn. Felly dywed ein Harglwydd ddarfod iddynt gyflawni mesur eu hanwiredd. Llanwasant y gwpan dros ei hymylon yn ddigofaint ar y genedl hyd y dydd hwn, trwy groeshoelio Arglwydd y gogoniant. Arweiniodd curo, lladd, a llabyddio ei weision y prophwydi i anmharchu y Mab—ei unig-anedig Fab. Y mae curo, anmharchu, lladd, a llabyddio gweision y Goruchaf y dyddiau hyn yn arwain i wrthod ac ail groeshoelio Arglwydd y gogoniant. Y mae mwy nag un ystyr i ladd, ac y mae lladd mwy sylweddol na lladd y corph yn cymeryd lle yr oes hon. Yr un ydyw ei eiddigedd ef dros ei weision o hyd. Oherwydd ymddygiadau anmharchus dynion tuagat ei weision, a thuagat ei Fab, symudodd ei winllan o genedl Israel, ac o blith cenhedloedd ereill, ac a'i rhoddodd i bobl a ddygent iddo "y ffrwythau yn eu hamserau." Efe a ddisgwylia i ni barchu ei anwyl Fab. "Hwy a barchant fy mab i," meddai. Myfi sydd wedi eu creu, eu cynal, eu porthi,

a'u diwallu. Myfi sydd yn rhoddi bywyd ac anadl, a phob peth oll iddynt, ac anfonais atynt fy ngweision i dystiolaethu am dano. Yr ydwyf wedi gwneyd yn well â hwy nag â neb arall. Ni ymddygais at unrhyw genedl fel y gwnaethum atynt hwy. Yr wyf yn disgwyl y dangosant gymaint o gariad a pharch tuagataf fi fel ag i barchu fy Mab i. Fe gymer y Tad yn angharedig iawn at y bobl sydd yn gwrthod ei Fab.

GWNEYD YR IESU YN BEN Y GONGL.

Nid ydyw ymddygiadau gwrthwynebol ac anmharchus dynion yn dyrysu bwriadau Duw. "Y maen a wrthododd yr adeiladwyr, hwn a wnaethpwyd yn ben y gongl." Y mae efe yn abl i wneyd i gynddaredd dyn ei folianu. Gwnaeth yr Iesu yn ben y gongl, er holl wrthwynebiadau a gwaradwydd yr Iuddewon. "Hwn a wnaethpwyd yn ben y gongl." Yr oedd eu gwrthodiad hwy dan ei lywodraeth yn ei gyfeirio i'r gongl. Efe a ddyrchefir er gwaethaf ei elynion; ond darostyngir ei wrthodwyr. Y mae y bobl sydd yn parchu ac yn dyrchafu y Mab yn cael eu dyrchafu gydag ef: "A ddwg Duw hefyd gydag ef." Ac y mae y bobl sydd yn ei anmharchu ac yn ei wrthod yn disgyn dan lid yr Oen. Y mae efe yn gyfodiad i'r rhai sydd yn ei barchu. Y cyfodiad uwchaf i bechadur ydyw y cyfodiad trwy y Mab; ac y mae efe yn gwymp i'r rhai sydd yn ei anmharchu ac yn ei wrthod, a'r cwymp dyfnaf i ddyn ydyw y cwymp trwy wrthod ac anmharchu y Mab. Deallasant mai am danynt hwy yr oedd efe yn llefaru, a cheisiasant ei ddal ef; ond oherwydd eu bod yn ofni y bobl, hwy a aethant ymaith.

Mae dameg y winllan yn edrych yn ol i oruchwyliaeth yr Hen Destament, hyd Ioan a Christ; ond y mae yr hon sydd yn canlyn, sef dameg priodas mab y brenin, yn edrych yn mlaen yn benaf i oruchwyliaeth y Testament Newydd, hyd y farn ddiweddaf.

DAMEG PRIODAS MAB Y BRENIN.

"Cyffelyb yw teyrnas nefoedd," meddai, "i ryw frenin a wnaeth briodas i'w fab, ac a ddanfonodd ei weision i alw y rhai a wahoddasid i'r briodas: ac ni fynent hwy ddyfod. Trachefn efe a anfonodd weision ereill, gan ddywedyd, Dywedwch wrth y rhai a wahoddwyd, Wele, parotoais fy nghiniaw: fy ychain a'm pasgedigion a laddwyd, a phob peth sydd barod: deuwch i'r briodas. A hwy yn ddiystyr ganddynt, a aethant ymaith, un i'w faes, ac arall i'w fasnach: a'r lleill a ddaliasant ei weision ef, ac a'u hanmharchasant, ac a'u lladdasant." Y mae y briodasferch o'r golwg yn y ddameg. Llefarodd y ddameg i ddysgu gwirioneddau mewn cysylltiad â'r gwahoddedigion i wledd priodas mab y brenin, a'r angen am wisg briodas i fyned i'r wledd. Y mae y parotoadau a'r gwahoddiadau yn cael eu gwneyd gyda rhwysg ac awdurdod brenhinol. Y brenin sydd yn lladd ei ychain a'i basgedigion i wneyd pobpeth yn barod, a chydag awdurdod brenin y mae efe yn anfon ei weision allan i wahodd i'r briodas a wna i'w fab. Mae y gweision yn myned allan i wahodd fel rhai wedi eu gwisgo â nerth a phrydferthwch gan y brenin. Anfonodd y prophwydi i'w gwahodd, ac anfonodd yr apostolion i'w cymhell i dd'od i wledd y brenin. Gwrthodasant y gwahoddiadau: "A hwy yn ddiystyr ganddynt, a aethant ymaith, un i'w faes, ac arall i'w fasnach," ac ereill a anmharchasant, ac a laddasant y gweision. Yr oedd gwrthod gwahoddiad y brenin yn taflu diystyrwch ar y brenin, ac ar ei fab, ac ar y ddarpariaeth a wnaeth efe ar ei draul ei hun. Darfu gwrthod y fath wahoddiad beri i'r brenin lidio, nes anfon ei luoedd i ddinystrio y lleiddiaid hyny a llosgi eu dinas â thân.

Y mae canlyniadau gwrthodiad yr Iuddewon o Grist a'i weision, a'u gwahoddiadau, yn eglur yn ngeiriau y

ddameg. Er gwrthodiad a diystyrwch yr Iuddewon ohono ef a'i weision, nid ydyw darpariaeth yr Efengyl i fyned yn ofer. Dywed wrth y gweision am iddynt fyned i'r prif-ffyrdd, a gwahodd pawb i ddyfod i'r briodas, nes ei llanw o wahoddedigion. "A phan ddaeth y brenin i weled y gwahoddedigion, efe a ganfu yno ddyn heb wisg priodas am dano." Yr oedd yn arferiad i'r brenhinoedd ofalu fod gwisg priodas i gael ei chynyg i'r gwahoddedigion. Pan yn gwahodd i briodas un o'r teulu gofalent hefyd am gynyg iddynt wisg briodol i'r amgylchiad. Mae gweision Duw yn cynyg gwisg briodas i'r penaf o bechaduriaid. Tywalltodd Mab y Brenhin ei waed ei hun i wisgo pechaduriaid yn ei gyfiawnder pur tragywyddol.

Parod ydoedd Paul i aberthu pob peth oedd ganddo er meddianu y wisg hon. Y mae cyfiawnder Crist fel llian main glân a disglaer: ni wêl y Brenin, pan y daw i mewn i'w hedrych, unrhyw fai yn ngwisg ddifrycheulyd cyfiawnder Iesu Grist. Ein dymuniad, gyda Paul, fyddo, "Ac y'm cair ynddo ef, heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd."

### EIDDO CESAR I CESAR, AC EIDDO DUW I DDUW.

"Rhoddwch chwithau yr eiddo Cesar i Cesar, a'r eiddo Duw i Dduw."—MATTH. xxii. 21.

Galwodd y Phariseaid gynghor yn nghyd i gynllunio pa fodd y gallent ei rwydo ef yn ei ymadrodd, er mwyn naill ai ei ddarostwng yn ngolwg y bobl, neu ei gael i afael y gallu Rhufeinig. Yn yr ymgynghreiriad unfrydol hwn tybient y gallent ei rwydo yn ei ymadrodd gyda golwg ar dalu teyrnged i Cesar. Yr oedd mwyafrif y genedl yn erbyn talu teyrnged i lywodraeth estronol. Daliai yr Herodianiaid, gan eu bod yn ddeiliaid yr ymherodraeth Rufeinig, mai eu dyledswydd oedd talu y

deyrnged, a thalent warogaeth i Herod, gweinidog y llywodraeth. Penderfynodd y cynghor osod y cwestiwn o flaen yr Iesu, fel y gallent ei rwydo a'i gyflwyno drosodd i Pilat a Herod. I osod y rhwyd dewisasant rai o'u dysgyblion—y dynion ieuainc mwyaf gobeithiol a galluog yn eu hathrofa, yn nghyda'r Herodianiaid. Hwy a aethant, yn ol awdurdod a chyfarwyddyd y cynghor, at yr Iesu mewn gwisg grefyddol, ond rhagrithiol: ni wyddent fod ei lygaid ef yn gweled eu rhagrith. "Athraw," meddent, "ni a wyddom dy fod yn eirwir, ac yn dysgu ffordd Duw mewn gwirionedd, ac nad oes arnat ofal rhag neb." Y mae yn rhyfedd fod y rhagrithwyr hyn yn gallu mynegu gwirioneddau fel hyn am yr Iesu. O ba le y cawsant y wybodaeth hon? A gawn ni ynddynt adsain tystiolaeth y bobl am dano, y rhai a'i canlynasant ef, ac wedi ei adnabod, rai ohonynt? "Dywed i ni," meddent, "beth yr wyt ti yn ei dybied? Ai cyfreithlawn rhoddi teyrnged i Cesar, ai nid yw?" Er nad oedd y rhai hyn yn ei adnabod ef, yr oedd efe yn canfod eu cyfrwysdra a'u rhagrith hwy: "Ond yr Iesu a wybu eu drygioni hwy, ac a ddywedodd, Paham yr ydych yn fy nhemtio i, chwi ragrithwyr?" Dadlenodd eu calonau a'u cymeriadau yn eu gwyneb. Yr oedd cyfarfod âg un yn eu hadnabod yn drwyadl yn peri iddynt wanhau ac arswydo; ac yr oedd clywed cyhoeddiad o'r hyn oeddynt mewn gwirionedd yn gwneuthur eu mynediad at yr Iesu, mewn rhan, yn ddydd barn arnynt. "Dangoswch i mi arian y deyrnged," meddai'r Iesu, "a hwy a ddygasant ato geiniog." Nid y geiniog Iuddewig a ddygasant ato, ond yr un yr oedd delw ac argraph Cesar arni. Gofynodd iddynt, Eiddo pwy yw y ddelw a'r argraph? Dywedasant, Eiddo Cesar. "Dywedodd wrthynt, Telwch chwithau yr eiddo Cesar i Cesar, a'r eiddo Duw i Dduw." A phan glywsant, rhyfeddu a wnaethant a myned ymaith.

Gwers gychwynol yn nheyrnas Crist ydyw rhyddid cydwybod a ffydd. Ysgrifena deiliaid ei deyrnas ef â'u llaw, "Eiddo yr Arglwydd ydym." Iddo ef yr ydym i roddi clod, mawl, ac addoliad. Efe sydd yn haeddu y lle uchaf yn y galon, ac efe yn unig fedr lanw dymuniadau y galon. Gwnaeth le digon mawr yn y galon iddo ei hun, ac ni fedr neb na dim ond efe ei lanw.

### Y SADUCEAID YN EI DEMTIO YN NGHYLCH YR ADGYFODIAD.

Yr oedd Satan yn brysur yn temtio ein Gwaredwr y dydd Mawrth hwn; yr oedd hwn yn ddydd profedigaeth iddo ef. Defnyddiai y gelyn ragrithwyr ac anffyddwyr yr oes i'w demtio. Yr oedd y Phariseaid, yn eu hymdrech i'w rwydo, yn dwyn rhagrith i agosrwydd poenus âg ef, yr hyn oedd yn brofedigaeth lem i'r Ffyddlawn a'r Cywir. Ar yr un dydd daeth y Saduceaid ato ef, y rhai a ddywedent nad oes adgyfodiad, gyda chwestiwn daearol. Ymddygiad beiddgar o eiddo y gelyn oedd galw y Sanctaidd a'r Dihalog i wrthwynebu anffyddwyr yr oes; ond bu yr ymosodiad beiddgar hwn yn achlysur i ddwyn allan ohono ef wirioneddau gwerthfawr am y byd ysbrydol.

Gofynodd y Saduceaid iddo, "Athraw, dywedodd Moses, Os bydd marw neb heb iddo blant, prïoded ei frawd ei wraig ef, a chyfoded had i'w frawd. Ac yr oedd gyda ni saith o frodyr: a'r cyntaf a brïododd wraig, ac a fu farw; ac efe heb hiliogaeth iddo, a adawodd ei wraig i'w frawd. Felly hefyd yr ail, a'r trydydd, hyd y seithfed. Ac yn ddiweddaf oll bu farw y wraig hefyd. Yn yr adgyfodiad, gan hyny, gwraig i bwy o'r saith fydd hi?" Yr oedd hwn yn hen gwestiwn gyda hwy, mae yn dra thebyg, i geisio diraddio athrawiaeth yr adgyfodiad, a dyrysu meddyliau gweiniaid. Er fod y Phariseaid yn credu athrawiaeth yr adgyfodiad,

nis gallent wrthsefyll y Saduceaid, a diamheu y tybiai yr anffyddwyr beiddgar hyn mai hwy oedd y bobl i waradwyddo ein Gwaredwr ; ond ni wnaethant erioed y fath gamgymeriad a cheisio diraddio athrawiaeth yr adgyfodiad gerbron yr Adgyfodiad a'r Bywyd ei hun. Cyhoeddodd hwynt yn gyfeiliornwyr yr oes. "Yr ydych yn cyfeiliorni," meddai, "gan na wyddoch yr Ysgrythyr na gallu Duw." Mae yr Ysgrythyr yn dysgu athrawiaeth yr adgyfodiad. Datguddia yr Ysgrythyr ei thrysorau i bobl sydd yn ei gredu fel gair Duw. Dywed wrthynt, Y mae eich syniadau yn gyfeiliornus am yr adgyfodiad. Mae pobl y byd hwn yn meirw; gan hyny, i gadw i fyny yr hiliogaeth yn y byd, priodant a rhoddant i briodas ; ond y mae plant Duw yn myned i fewn i'w deyrnas ef yn y nefoedd i fyw, heb farw mwy. Byddant yn anfarwol yn gyffelyb i'r angylion. Bydd y teulu yn gyflawn, heb weled bwlch byth mwy. Chwi a soniwch, meddai, am Moses: nid ydych yn deall yr hyn a ddywed Moses,—y modd y llefarodd Duw wrtho yn y berth, gan ddywedyd, "Myfi yw Duw Abraham, a Duw Isaac, a Duw Jacob? Nid yw Duw Dduw y rhai meirw, ond y rhai byw. Y mae Abraham, Isaac a Jacob yn feirw o ran eu cyrph, ond y maent yn fyw o ran eu hysbrydoedd gydag ef; cyd-stad ā'r angylion ydynt o ran anfarwoldeb ; o ran natur eu perthynas a'u sefyllfa, plant Duw ydynt. Bydd yr adgyfodiad yn cyflwyno iddynt gyrph o'r un ffurf ā'i gorph gogoneddus ef. Synodd y torfeydd wrth ei athrawiaeth ef, ac ni feiddiasant mwyach ofyn dim iddo ef.

### GORCHYMYN MAWR Y GYFRAITH.

Aeth y son ar led i'r Iesu ostegu y Saduceaid ; ond ni hoffai y Phariseaid y son oedd ar led iddo eu gorchfygu hwy a'r Saduceaid. Galwasant gynghor yn nghyd drachefn i ystyried beth a allent wneyd yn mhellach i'w

rwydo yn ei ymadrodd. Tybient eu bod hwy yn awdurdod ar orchymynion Duw. Gosodent y traddodiadau o flaen gorchymynion Duw, sef golchi dwylaw cyn bwyta, a'r cyffelyb. Gorchymyn mawr yn ngolwg y Rabbiniaid oedd gwneyd i fyny daselau ac addurniadau eu gwisgoedd. Penderfynodd y cynghor i un ohonynt hwy, yr hwn oedd gyfreithiwr, ofyn i'r Iesu, Pa un oedd y gorchymyn cyntaf a'r gorchymyn mawr? "Athraw," gofynodd, "pa un yw y gorchymyn mawr yn y gyfraith?" neu yn ol Marc, "Pa un yw y gorchymyn cyntaf o'r cwbl?" Atebodd yr Iesu y gofyniad yn llawn. Sefydlodd yr egwyddor o ba un y mae ufudd-dod i'r gorchymynion ereill i darddu. A'r Iesu a atebodd iddo, "Y cyntaf o'r holl orchymynion yw, Clyw, O Israel, yr Arglwydd ein Duw, un Arglwydd yw; a châr yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl, ac â'th holl nerth, hwn yw y gorchymyn cyntaf; a'r ail sydd gyffelyb iddo, Câr dy gymydog fel ti dy hun: ar y ddau orchymyn hyn y mae yr holl gyfraith a'r prophwydi yn sefyll." Y mae caru Duw â'r holl galon yn golygu fod y galon yn gywir mewn cariad at Dduw. Gonestrwydd a chywirdeb sydd yma mewn gwrthgyferbyniad i galon ragrithiol, dwyllodrus, ac hanerog. Os bydd y galon yn caru Duw yn uniawn a chywir, y mae y teimladau, y meddyliau, a'r gweithrediadau yn gyffelyb. Y mae caru Duw â'r holl enaid yn golygu fod y galon sydd yn caru Duw i ddwyn allan y cariad mewn teimladau tanllyd o fawl ac addoliad. Y mae caru Duw â'r holl feddwl yn cynwys gweithrediad meddylgar ac ysbrydol yn ol ewyllys Duw. Y mae caru Duw â'r holl nerth yn golygu ymegnïad i garu Duw: nid rhywbeth i aros yn y teimladau a'r meddwl yn unig ydyw, ond y mae ef i dd'od allan yn y gweithredoedd. Y mae y gorchymyn yn gofyn i ni roddi pob gallu sydd ynom mewn gweithrediad llawn a pharhaus i garu Duw.

PA FODD I GARU DUW A'R CYMYDOG.

"A'r ail sydd debyg iddo, Câr dy gymydog fel ti dy hun." Y mae cariad at Dduw i ymhelaethu at y cymydog a'r brawd, ond nid i'r un mesur: "Câr dy gymydog fel ti dy hun." Yr eglurhad goreu ar yr ail orchymyn ydyw rheol euraidd yr Iesu, yr hon sydd yn gofyn i ni wneuthur i ddynion fel yr ewyllysiem i ddynion wneuthur i ni. "Da, Athraw, mewn gwirionedd y dywedaist," meddai yr ysgrifenydd. Dywedodd yr Iesu wrtho, "Nid wyt ti bell oddiwrth deyrnas Dduw." Nid yn unig yr oedd ei atebion yn gostegu ei wrthwynebwyr, ond hefyd yn enill rhai i'r un ochr ag ef ei hun. Trwy ddysgu ac egluro y gwirionedd cauodd enau holl feirniaid a chyfeiliornwyr yr oes: "Ac ni feiddiodd neb mwy ymofyn âg ef."

BETH DYBYGWCH CHWI AM GRIST?

"Beth dybygwch chwi am Grist?"—MATTH. xxii. 42.

Mae yr Iesu, wedi ateb eu cwestiynau dyrys hwy nes eu gostegu a gwneyd i'r bobl ryfeddu, yn gofyn cwestiwn iddynt hwy. "Beth dybygwch chwi am Grist: mab i bwy ydyw?" O holl gwestiynau y byd hwn y cwestiwn sydd ger ein bron ydyw y mwyaf. Mae y meddwl i adnabod Crist yn ei ddwyn ef yn eiddo i bechadur tlawd. "Crist yw diwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un sydd yn credu." Addas a phriodol iawn, gan hyny, iddynt y pryd hyny, ac i ninau y pryd hwn, ydyw sefyll o flaen y cwestiwn, "Beth dybygwch chwi am Grist?" Beth yw ein meddwl am ei Berson, ei offeiriadaeth, ei Iawn, a'i eiriolaeth yn y nef? Beth ydyw ein meddwl am ei allu fel Brenin a Phrophwyd? Beth ydyw ein meddwl am ei wirionedd a'i gariad? a ydyw efe yn ogoneddus yn ein golwg, ac yn werthfawr yn ein calonau? a ydym ni yn ymostwng iddo fel ein Brenin a'n Duw? a ydym yn credu yn Mab Duw? a ydym yn ei geisio nes ei wneyd

ef yn rhan i ni ein hunain? a oes ynom ddymuniad i'w holl elynion gael eu gosod dan ei draed ef, ac yn eu mysg ein chwantau drwg ein hunain? a ydym ni yn ei ystyried ef yn deilwng o'r anrhydedd a'r gwasanaeth sydd yn ein gallu ni i'w rhoddi iddo, a llawer mwy?

Yr ateb a roddasant hwy iddo ydoedd, "Mab Dafydd." Gofynodd iddynt, "Pa fodd gan hyny y mae Dafydd yn yr ysbryd yn ei alw ef yn Arglwydd, gan ddywedyd, Dywedodd yr Arglwydd wrth fy Arglwydd, Eistedd ar



[BEDD DAFYDD.]

fy neheulaw, hyd oni osodwyf dy elynion yn droedfainc i'th draed di? Os yw Dafydd gan hyny yn ei alw ef yn Arglwydd, pa fodd y mae efe yn fab iddo? Ac ni allodd neb ateb gair iddo." Dieithr iddynt oedd y ddwy berthynas yn ei Berson ef, sef ei berthynas fel Mab Duw â'r Tad, a'i berthynas â Dafydd o ran y cnawd. Fel Mab Dafydd daw ei berthynas â'n natur ni i'r golwg. Fel Mab Duw y mae efe yn anrhaethol uwchlaw Dafydd ac uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd. Am hyny y galwai Dafydd ef yn Arglwydd.

### YR IESU YN DYNOETHI EU RHAGRITH.

Myned yn fwy anghymodlawn âg ef yr oedd penaethiaid y genedl er pob daioni a gyfranai, a chynyddu yr oedd eu malais a'u digofaint yn ngolwg rhyfeddodau ei weithredoedd a'i eiriau grasusol. Gyda thawelwch a pherffaith adnabyddiaeth ohonynt y mae yr Iesu yn gadael yr ochr amddiffynol, ac yn gwneyd dadleniad cyflawn o'u rhagrith a'u hunanoldeb. Meddai, "Yn nghadair Moses yr eistedd yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid. Yr hyn oll gan hyny a ddywedant wrthych am eu cadw, cedwch a gwnewch; eithr yn ol eu gweithredoedd na wnewch: canys dywedant, ac nis gwnant." Dywedodd wrth y dyrfa ac wrth ei ddysgyblion am ymogelyd rhagddynt, a rhag bod yn debyg iddynt. Dysgent y bobl i ddyweyd Rabbi ddwywaith, gan mor hoff oeddynt o'r teitl. "Eithr na'ch galwer chwi Rabbi," meddai, "canys un yw eich Athraw chwi, sef Crist; a chwithau oll brodyr ydych. Ac na elwch neb yn dad i chwi ar y ddaear: canys un Tad sydd i chwi, yr hwn sydd yn y nefoedd." Y mae yr Athraw yma yn llefaru yn erbyn uwchafiaeth honiadol a balch yn eglwys Dduw; a rhydd yma drachefn ei gyfarwyddyd pa fodd i fod yn wir fawr. "Pwy bynag a'i gostyngo ei hun, a ddyrchefir."

### CONDEMNIO RHAGRITH.

Yna y mae efe yn myned yn mlaen i ddadlenu eu rhagrith trwy gyhoeddi wyth o waeau arnynt. Y rhagrithwyr a gondemniodd efe lymaf. Phylacterau llydain a gwisgoedd addurniadol yn cuddio calonau llofruddion oedd fwyaf anghymeradwy a gwrthodedig ganddo ef. Nis gallwn ganfod mewn iaith fwy o gondemniad ar ragrith, balchder, a thwyll, na geiriau yr addfwyn Oen yn wythnos olaf ei oes, trwy gyhoeddi wyth o waeau uwch eu penau.

Ddiwrnod neu ddau yn nghynt yr oedd efe yn wylo uwchben Jerusalem ; yma y mae efe yn ocheneidio uwchben y ddinas hono. "Jerusalem, Jerusalem," meddai, "yr hon wyt yn lladd y prophwydi ac yn llabyddio y rhai a ddanfonir atat, pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant yn nghyd, megis y casgl iâr ei chywion dan ei hadenydd, ac nis mynech !" Y mae efe yn edrych gyda thosturi ar Jerusalem yn dwyn dinystr arni ei hun trwy ladd ei brophwydi a thrwy ei ladd ef, er nad ydyw yn dyweyd gair am ei ddioddefiadau ei hun. Yn gyffelyb i'r iar yn galw ac yn casglu ei chywion o dan ei hadenydd i estyn iddynt amddiffyniad, diogelwch, adnewyddiad, a chysur, felly yr oedd yr Iesu yn galw pobl Jerusalem a'r genedl ato ei hun i roddi bywyd, diogelwch, a chysur iddynt. Anfonodd y prophwydi i'w gwahodd ato ef, a daeth efe ei hun i'w gwahodd. Dywedodd, "Deuwch ataf fi bawb." Gwrandawodd llawer ar ei lais, a chawsant gysgod diogel, cysurus, a llawn dan orchudd ei adenydd. Ond gwrthododd pobl Jerusalem ei wahoddiadau caredig. Canlyniad eu hymadawiad oddiwrth Dduw ydoedd gwrthod ei wahoddiadau ef, yr hyn a ddibenodd yn ei ymadawiad ef oddiwrthynt hwy ; ac yr oedd ei ymadawiad ef oddiwrthynt yn golygu ymadawiad pob peth gwerthfawr. Canlyniad gwrthod ei wahoddiadau ydoedd gwaeddi, "Ymaith âg ef ; croeshoelier ef ; ni fynwn ni mo hwn i deyrnasu arnom." "Wele," meddai, "yr ydys yn gadael eich tŷ i chwi yn anghyfanedd." Yr oedd efe ar ymadael o'r deml pan yn llefaru y geiriau hyn, ac ar ol ei ymadawiad ef buan y gwnaed y deml yn Jerusalem yn gydwastad â'r llawr. Ceisiodd Titus gan ei filwyr arbed y deml gan mor ysplenydd ydoedd, ond methodd yn ei ymdrech. Gwnaeth y gelynion y tŷ yn anghyfanedd. Y tro nesaf, meddai, y cewch fy ngweled fydd ar fy ngorseddfainc, yn eich barnu yn y dydd diweddaf.

Y mae addewid gogyfer a'u dychweliad at yr Arglwydd, ac i gael eu himpio i mewn i'w holewydden ei hun. Dywed yr addewid, "A'r Arglwydd a etifedda Judah ei ran yn y tir sanctaidd, ac a ddewis Jerusalem drachefn."

Yn ei eiriau ymadawol â hwynt daeth i'r golwg yn ei gymeriad, ei burdeb moesol, ei wirionedd sylweddol a dwyfol, ei gariad cysgodawl a chysurol, ei ostyngeiddrwydd cymwynasgar, ei gysegredigrwydd i ewyllys ei Dad, ei lawenydd yn ei hunan-aberth er mwyn bod yn gartref diogel, llawn a chysurus i bechaduriaid colledig, a'i dosturi galarus wrth edrych ar Israel yn mynu dinystrio ei hun. Nid ydyw efe yn gofyn pa fodd wrth ddim ond wrth adael dyn colledig, yn mynu dinystrio ei hun. Y mae efe yn gofyn pa fodd wrth adael i ddyn fyned i ddinystr ar hyd ei ffordd ei hun.

# PENOD XIX.

*Yr Iesu yn edrych ar y bobl yn bwrw arian i'r drysorfa—Yn canmol dwy hatling y weddw—Y Groegiaid yn ewyllysio gweled yr Iesu—Yn gorchfygu ei ofnau trwy ymostwng i ewyllys ei Dad—Llef o'r nef y drydedd waith—Yr Iesu yn tynu ato ei hun trwy fyned i'r groes—Yn rhagfynegi i'r dysgyblion yr erledigaeth oddi allan ac oddi mewn—Dinystr Jerusalem—Ei ail ddyfodiad i farnu y byw a'r meirw—Yn anog y dysgyblion i wylio.*

## YR IESU YN CYMERADWYO DWY HATLING Y WEDDW.

"A rhyw wraig weddw dlawd a ddaeth ac a fwriodd i mewn ddwy hatling, yr hyn yw ffyrling."—MARC xii. 42.

Eisteddodd yr Iesu gyferbyn â'r drysorfa, ac a edrychodd pa fodd yr oedd y bobl yn bwrw arian i mewn i'r drysorfa; sylwai ar y symiau a fwrid i mewn. Gall fod rhai yn tybio nad oes neb ond dynion yn talu sylw i'r symiau a roddir at achos yr Arglwydd, a phob peth yn dda os bydd y swm a roddir yn gymeradwy yn ngolwg dynion: nid ystyriant fod yr hwn sydd yn rhoddi bywyd ac anadl, a phob peth oll iddynt, yn edrych arnynt yn cyfranu at ei achos ef. Yma y mae efe yn sylwi ar y cyfoethogion a'u cyfraniadau; y mae hefyd yn gwylio a chymeradwyo y swm lleiaf. Yn yr hanes hwn y swm lleiaf a gafodd fwyaf o'i sylw a'i gymeradwyaeth. Yn mysg y cyfoethogion gwelai wraig weddw dlawd yn d'od yn mlaen, ac yn bwrw i mewn ddwy hatling, yr hyn yw ffyrling. Nis gallai roddi llai, oddieithr iddi

roddi un hatling yn lle dwy. Hatling oedd y *coin* lleiaf, ac nid oedd y ddwy hatling yn llawn cydwerth â hatling o'n harian ni. Sylwa yr Iesu ar, a gwerthfawroga y rhodd leiaf a roddir o gariad ato ef ; ïe, yn yr amgylchiad hwn y *coin* lleiaf oedd y rhodd fwyaf yn ngolwg yr hwn oedd yn gweled eu hamgylchiadau a'u hegwyddorion.

Galwodd ei ddysgyblion ato i roddi gwers werthfawr iddynt ar y gras o haelioni. Rhoddodd fwy o ganmoliaeth i rodd y wraig weddw dlawd nag i roddion mwyaf y cyfoethogion : "Yn wir," meddai, "yr wyf yn dywedyd i chwi, fwrw o'r wraig weddw dlawd hon i mewn fwy na'r rhai hyn oll a fwriasant i'r drysorfa." Pwy ond efe a fuasai yn canmol y weddw dlawd yn rhoddi fel hyn? Wrth ddysgu ei ddysgyblion yn egwyddorion haelioni crefyddol, llefarai yn erbyn bydolrwydd a balchder crefyddol. Gofalent hwy am wneyd eu hunain i fyny yn gyntaf cyn rhoddi at achos yr Arglwydd; "ond hon," meddai, "o'i heisieu a fwriodd i mewn yr hyn oll a feddai, sef ei holl fywyd." Dichon fod y ddwy hatling yn cynwys enillion deuddydd, ac nad oedd gan y weddw ddim ond ymddiried yn yr Arglwydd am y gweddill o'r dyddiau dyfodol.

Buasai holl fydol-ddoethion eglwys Dduw yn yr oes hon yn ystyried y wraig hon y ffolaf ar y ddaear, a buasent yn arfer eu Saesneg (y rhai sydd yn medru tipyn ohono), ac yn dywedyd, "*Charity begins at home.*" Dywedasent nad oedd neb yn disgwyl iddi roddi dim yn yr amgylchiadau isel a gwasgedig yr oedd hi ynddynt, ond gan ei bod hi yn awyddus am roddi, y buasai yn fwy rhesymol iddi roddi un hatling, ac nid dwy; ond, druan ohoni, mwy rhesymol fuasai iddi beidio rhoddi o gwbl. Ond y mae hi yn derbyn canmoliaeth uchel gan yr Iesu. Y mae efe yn gweled yn nwy hatling y weddw ddarlun bychan o'i hunan-aberth ei hun. Egwyddorion

ei hunan-offrymiad oedd yn rhoddi gwerth ar ddwy hatling y weddw dlawd yn ei olwg ef. Llawenychai ei ysbryd, debygem, wrth weled yn nwy hatling y weddw ddarlun bychan, ond cywir, o weithred fawr ei oes, yr hon yr oedd efe ar ei chyflawni, sef offrymu ei hun yn offrwm ac aberth difai i Dduw.

### DYFODIAD Y GROEGIAID AT YR IESU.

"Syr, ni a ewyllysiem weled yr Iesu."—IOAN xii. 22.

Daeth rhai Groegiaid at Phylip, yr hwn oedd o Bethsaida yn Galilea. Hoffai y Groegiaid hyn, gallem dybio, y grefydd Iuddewig; yr oeddynt yn mhlith y rhai a ddaethant i fyny i addoli ar yr wyl. Yr oedd y son am Iesu o Nazareth wedi cynyrchu awydd ynddynt i gael ei weled. Daeth y doethion o'r dwyrain, dan arweiniad y seren i'w weled yn y preseb; ac wele y Groegiaid yn dymuno cael ei weled yn ymyl ei groes. Gwnaethant eu dymuniad yn hysbys i Phylip, at yr hwn y daethant yn wylaidd a gostyngedig. Oherwydd fod enwPhylip o ystyr Roegaidd, feallai, y teimlent agosach perthynas âg ef. "Syr," meddent, "ni a ewyllysiem weled yr Iesu." Dywedodd Phylip wrth Andreas, a thrachefn Andreas a Phylip a ddywedasant i'r Iesu. Yr oedd eu dyfodiad ato yn ernes o ddyfodiad y cenhedloedd ato, a'i fuddugoliaeth i enill cenhedloedd y byd yn feddiant iddo; ond gwelai hefyd mai trwy ei farwolaeth yr oedd efe i enill y frwydr hon; felly trwy eu dyfodiad daeth ei farwolaeth yn fyw i'w deimladau.

### CRIST YN FFRWYTHO TRWY FARW.

Credaf iddo wneyd eu cais trwy fyned o gyntedd y gwragedd i gyntedd y cenhedloedd, lle yr oeddynt yn sefyll ac yn ei ddisgwyl. Ymddangosodd yn siriol a grasol iddynt. Dywedodd, "Daeth yr awr y gogonedder Mab y dyn." Y mae yr awr i mi fyned i mewn i

ogoniant trwy farw wedi d'od, yr hon yw yr awr ordeiniedig yn nghyngor fy Nhad. Wele fi wedi d'od i roddi bywyd i'r colledig. Rhaid i mi farw i roddi bywyd i'r colledig. Mae fy mywyd yn aros ynof fy hun, fel yn y gronyn gwenith, heb i mi farw. Aros ynddo ei hun y mae y gronyn gwenith hyd nes y bydd efe marw, ac wedi iddo farw efe a ddwg ffrwyth lawer. Y mae y gronyn gwenith yn amlhau ac yn cyfranu ei hun trwy farw. Fel y mae y gronyn gwenith yn syrthio i'r ddaear ac yn marw, ac yn tyfu i wneyd cynhauaf mawr o wenith, felly y byddaf finau farw i wneyd cynhauaf mawr o bobl i mi fy hun, ac ar fy nelw fy hun.

Y mae gwir lwyddiant yn tarddu o farw. Gelwir arnoch chwi i fy nilyn, meddai, yn fy marwolaeth. Y mae cariad cywir tuagataf yn meddu gallu a pharodrwydd i farw er fy mwyn: "os gwasanaetha neb fi, dilyned fi," trwy farw er fy mwyn os bydd raid. Dyma fi yn myned i roddi fy einioes i lawr i roddi bywyd i chwi. Y mae y bywyd sydd yn ffrwyth fy marwolaeth yn cynwys yr un gallu i farw er fy mwyn i; a chaiff fy ngweinidog fod gyda mi; caiff gyd-deyrnasu â mi mewn gogoniant. Y mae fy Nhad yn myned i'm hanrhydeddu i, ac efe a anrhydedda yr hwn sydd yn fy nilyn i: "y Tad a'i hanrhydedda ef."

Yr oedd agosrwydd ei farwolaeth yn gwneyd i wendid ei natur ddynol ofni am ychydig; yr oedd Gethsemane fel yn taflu ei chysgodion cymylog a thywyll i'w deimladau ef.

### YN YMOSTWNG I WNEUTHUR EWYLLYS EI DAD.

"Yr awr hon," meddai, "y cynhyrfwyd fy enaid, a pha beth a ddywedaf?" A gaf fi ofyn i fy Nhad am fy ngwaredu allan o'r awr hon? Y mae gwendid ei natur ddynol yn ofni yr amgylchiadau cyfagos. Ond ychwanega, "Eithr oherwydd hyn y daethum i'r awr hon." Y

mae pob cam a roddais a'i gyfeiriad at ogoneddu enw fy Nhad trwy farw. Ac yn yr olwg ar hyn cafodd oruchafiaeth ar ei ofnau. "O Dad," meddai, "gogonedda dy enw." Un peth yma oedd yn ei gymodi â marwolaeth waradwyddus y groes, sef mai hyn oedd ewyllys ei Dad; a chan mai hyn oedd ewyllys ei Dad, yr oedd efe yn cael goruchafiaeth ar ei ofnau; cafodd adgyfnerthiad yn yr ystyriaeth hon i wynebu Calfaria heb ofni. O Dad, meddai, gogonedda dy enw yn fy marwolaeth i achub a chadw y colledig.

"Yna y daeth llef o'r nef, Mi a'i gogoneddais, ac a'i gogoneddaf drachefn." Y mae fy enw wedi ei ogoneddu trwy dy anfoniad, ac mi a'i gogoneddaf drachefn trwy dy farwolaeth, a thrwy dy ddyrchafiad i'r nef trwy borth marwolaeth.

Hon ydoedd y drydedd waith i'r Tad gyhoeddi ei gymeradwyaeth o'i Fab o'r nef. Clywodd y bobl y llef. Dywedodd rhai mai taran oedd; ereill a ddywedasant, "Angel a lefarodd wrtho." Dywedodd yr Iesu, "Nid o'm hachos i y bu y llef hon, ond o'ch achos chwi."

"Yn awr," meddai, "y mae barn y byd hwn." Y byd hwn ydoedd y byd a groeshoeliodd Arglwydd y gogoniant, y bobl oeddynt yn hollol dan lywyddiaeth tywysog y byd hwn; y rhai sydd o'r un ysbryd âg ef, ac yn cario allan ei gynlluniau ef. Byddant wrth fy marnu i yn awr yn condemnio eu hunain. "Yn awr y bwrir allan dywysog y byd hwn." Yr ydoedd ei syniad ef am ei farwolaeth yn wahanol iawn i dywysog y byd hwn a phobl ei deyrnas. Tybiai y byd hwn a'i dywysog y byddai croeshoelio Arglwydd y gogoniant yn diogelu eu teyrnas hwy; ond dywed yr Iesu, Trwy fy marwolaeth, i gymodi Duw â dyn, fe gyll tywysog y byd hwn ei lywodraeth a'i ddeiliaid. Trwy esgyn i Galfaria i farw yr ysbeiliodd efe y cadarn o'i awdurdod a'i lywodraeth, ac y dygodd yn rhydd ei garcharorion oddiarno.

Trwy gredu ynof fi anrhaith y creulawn a ddianc o'i deyrnas ef i fy nheyrnas i, a than fy llywodraeth. Os ysigir fy sawdl i, minau a ysigaf ben y sarph. Fe gyll ef ei ddeiliaid a'i lywodraeth ar galonau dynion. Dygodd efe i ni dragwyddol ryddhad o gaethiwed diafol a phechod, trwy offrymu ei hun yn offrwm ac yn aberth difai i Dduw. Y mae y Tad wedi derbyn boddlonrwydd ynddo.

### YN TYNU ATO EI HUN TRWY FARW.

"Minau," meddai, "os dyrchefir fi oddiar y ddaear, a dynaf bawb ataf fy hun." Mae y galluoedd sydd yn tynu dynion yn gryfion a lluosog yn y byd. Defnyddia y gelyn bob gallu yn ei deyrnas i dynu dynion i ddistryw. Y mae y galluoedd i dynu yn ei deyrnas yn gryfach na nyni: y mae efe yn hen, gwybodus, a dichellgar i osod y demtasiwn yn y modd goreu i dwyllo a thynu ar ei ol i ddistryw.

Da iawn i ni feddwl fod gallu ein Gwaredwr i dynu yn gryfach na'r un gallu sydd yn ein tynu tua distryw. Efe, trwy ufuddhau i'w Dad, a myned i Galfaria i farw er mwyn cael ffordd gyfiawn i faddeu i ni, ydyw y gallu cryfaf i dynu dynion ato ei hun.

### EI BOBL YN AMLHAU.

Rhaid oedd dyrchafu Mab y dyn i'r groes ac i'r deheulaw er dwyn iachawdwriaeth i'r byd, a phwy bynag a godo ei olwg ato ef a ddaw yn iach o'r afiechyd marwol. Dywed yn y brophwydoliaeth: "A hwy a edrychant arnaf fi yr hwn a wanasant." Ar ol marwolaeth Joseph, gwaredwr teulu Jacob, y dechreuodd plant Israel amlhau yn ddirfawr. Caiff ein Gwaredwr weled o lafur ei enaid a chael ei ddiwallu yn iachawdwriaeth tyrfa nas gall neb ei rhifo. Ar ol ei farwolaeth ef y mae ei bobl wedi dechreu amlhau yn ddirfawr ar y ddaear ac yn y nef.

"Ni a glywsom o'r ddeddf," meddai'r dyrfa, "fod Crist yn aros yn dragywyddol; a pha wedd yr wyt ti yn dywedyd fod yn rhaid dyrchafu Mab y dyn?" Nid oedd ganddo amser i ymresymu â hwynt. Dywed wrthynt, Eto enyd fach y mae y goleuni gyda chwi; gwnewch ddefnydd o'r goleuni tra byddaf fi gyda chwi. Yr ydwyf fi ar eich gadael. Gellwch ddeall y cwestiynau sydd yn dywyll i chwi trwy gredu ynof a rhodio yn fy ngoleuni. "Tra fyddo genych oleuni, credwch yn y goleuni, fel y byddoch blant y goleuni."

### YR IESU YN YMADAEL O'R DEML.

"A'r Iesu a aeth allan, ac a ymadawodd o'r deml."—MATTH. xxiv. 1.

Gadawodd yr Iesu y deml wedi llefaru y geiriau diweddaf, mewn ffordd o bregethu a dysgu y bobl. Yr Iesu yn gadael ei dŷ ei hun! Diau fod ei feddwl a'i galon yn ymlenwi o ofid a thristwch wrth adael ei dŷ a thŷ ei Dad. Yr oedd syllu ar y deml wrth ei gadael yn galw i'w feddwl y dinystr oedd yn ei haros. Buan yr aeth ei dŷ yn anghyfanedd wedi iddo ef ymadael ohono. Ofer ydyw pob ymdrech i addurno a chadw gogoniant ar y ty a'i bethau wedi iddo ef ei hun ymadael. Efe ei hun ydyw gogoniant y ty, a phan yr ymedy ef, ymedy hefyd y gogoniant.

Ar ei ymadawiad o'r deml llefarai wrth y bobl fel Anfonedig y Tad, wedi ei genhadu a'i gymhwyso i gyflawni bwriadau tragwyddol ei gariad yn achubiaeth y byd. Anfoniad y Mab gan y Tad ydyw sail pob anfoniad er mwyn cario allan amcan mawr ei anfoniad ef gan y Tad. Gwrthodasant wrando ar yr hwn oedd yn llefaru o'r nef.

A dacw ein Harglwydd yn ymadael am y tro diweddaf o'r deml, ar hyd y grisiau dwyreiniol, ac yn cyfeirio ei gamrau tua mynydd yr Olewydd, pan y cyfarchwyd ef

gan un o'r dysgyblion, "Athraw, edrych pa ryw feini, a pha fath adeiladau sydd yma." Y fath feini teg, y fath adeilad ardderchog sydd yma! Dywedir fod y deml wedi ei hadeiladu o feini gwynion o faintioli enfawr. Edrychai ef yn wahanol i'r dysgyblion ar y deml a'i gogoniant. Yr oedd ei gogoniant a'i mawredd yn awgrymu i'w feddwl ef y dinystr a gyflawnid arni. Edrychai ef ar farn Duw a ddisgynai ar y lle a'r bobl, oherwydd iddynt ddirmygu a gwrthod Anfonedig y Tad. "A weli di yr adeiladau mawrion hyn?" ebe'r Iesu wrth y dysgybl, "ni adewir maen ar faen ar nis datodir." Yr oedd ei farwolaeth ef i droi yn farwolaeth i'r oruchwyliaeth y dalient hwy afael mor dŷn ynddi, ac i symud crefydd i oruchwyliaeth newydd, a mwy eang ac ysbrydol.

### DIODDEF ER MWYN EI ENW EF.

Yna efe a aeth yn mlaen i fynydd yr Olewydd, ac a eisteddodd ar lethr y mynydd gyferbyn â'r deml. Gofynodd y dysgyblion iddo, "Dywed i ni pa bryd y bydd y pethau hyn?" Codai y cwestiynau hyn yn eu meddyliau oddiar eu syniadau daearol am ei deyrnas. Ofer ydoedd pob ymdrech i'w symud o'r golygiadau daearol ac anianol hyn. Nid oedd dim yn ddigon effeithiol i'w dadwreiddio o'r ddaear ond ei farwolaeth ef a thywalltiad yr Ysbryd Glân. Cymhellai hwynt i wyliadwriaeth fanwl a pharhaus arnynt eu hunain. Y mae perygl i chwi, meddai, gymeryd eich camarwain. Fe ddaw rhai yn fy enw i, gan ddywedyd, Myfi yw Crist; ac a dwyllant lawer. Dywedant eu bod wedi eu hanfon gan Dduw i ryddhau Israel o dan iau estronol. Cyn i'r deml gael ei dinystrio bydd rhyfeloedd a son am ryfeloedd. Mynega iddynt fod pethau chwerwon i'w cyfarfod o achos ei enw ef. "Edrychwch arnoch eich hunain." Dywed y traddodid hwy i'r cynghorau, ac y dygid hwy

o flaen rhaglawiaid a brenhinoedd o'i achos ef, er tystiolaeth iddynt hwy. Ni raid i chwi ragofalu ac ofni sefyll o'u blaen, meddai. "Na ragofelwch beth a ddywedoch, ac na fyfyriwch." Dywedwch yr hyn a ddaw i'ch meddwl ar y pryd. Bydd yr Ysbryd Glân yn eich dysgu i lefaru o'u blaen; ond ni bydd eich atebion yn ol cyfarwyddyd yr Ysbryd Glân yn lladd eu gelyniaeth tuagatoch.

Rhagfynega yr Iesu iddynt y trallodid hwynt nid yn unig âg erledigaethau oddiallan, ond hefyd â chyfeiliornadau a gau-brophwydi oddimewn i'r eglwys. Dywed y codai gau-brophwydi i dwyllo llawer, ac yr oerai cariad lluaws. Ond yr oedd cariad cywir ato ef yn rhoddi modd i barhau i'w ganlyn trwy bob rhwystrau: "Eithr y neb a barhao hyd y diwedd, hwnw a fydd cadwedig."

RHAID PREGETHU TRWY YR HOLL FYD.

Rhaid oedd pregethu yr Efengyl trwy yr holl fyd. "A'r Efengyl hon am y deyrnas," meddai, "a bregethir trwy yr holl fyd, er tystiolaeth i'r holl genhedloedd: ac yna y daw y diwedd." Cyn i'r farn ddisgyn ar Jerusalem, rhaid oedd pregethu Efengyl y deyrnas, er gwaethaf y gelyn a'i luoedd. Gorchymynodd y Gwaredwr iddynt ddechreu pregethu Efengyl y deyrnas yn Jerusalem; a phan y pregethid yr Efengyl i'r holl fyd adnabyddus, yna byddai diwedd ar y gyfundrefn a'r llywodraeth Iuddewig.

Dywed hanesyddiaeth i Efengyl y deyrnas gael ei phregethu yn Idumea, Syria, a Mesopotamia, gan Judas brawd Iago; yn yr Aipht, a rhanau ereill o Affrica, gan Marc, Simon, a Judas; yn Ethiopia gan eunuch y frenhines Candace o Ethiopia; yn Pontus, Galatia, a rhanau cyfagos, gan Matthias; yn Asia gan Petr; yn safleoedd y saith eglwys yn Asia gan Ioan; yn Parthia gan

Matthew; yn Scythia gan Phylip ac Andreas; yn y parthau gogleddol a gorllewinol o Asia gan Bartholomew; yn Persia gan Simon a Judas; yn Media, ac amrywiol barthau dwyreiniol, gan Thomas; o Jerusalem i Illyricum, yn nghyda'r Eidal, gan Paul; a thebygol iddo hefyd ymweled â'r Ysbaen, Gaul, a Phrydain. Yn y parthau a nodwyd yr oedd Efengyl Crist wedi cael ei phregethu, ac eglwysi wedi eu sefydlu ddeng mlynedd ar hugain ar ol marwolaeth Crist, ac felly cyn dinystr Jerusalem; ac er y pryd hwnw, parhau i ymledaenu y mae teyrnas yr Iesu o fôr hyd fôr, ac o'r afon hyd derfynau eithaf y ddaear.



[PEN TY YN Y DWYRAIN.]

Dywed wrthynt am ffoi i'r mynyddoedd pan welent y ffieidd-dra anghyfaneddol a ragfynegwyd, trwy Daniel y prophwyd yn sefyll yn y lle sanctaidd. "Yna," meddai, "y rhai a fyddant yn Judea, ffoant i'r mynyddoedd: a'r neb a fyddo ar ben y tŷ, na ddisgyned i'r tŷ, ac nac aed i mewn i gymeryd dim o'i dŷ;" ac anoga hwynt i ddianc yn ddiymdroi. "Ond

gweddiwch," meddai, "na byddo eich ffoedigaeth yn y gauaf, nac ar y Sabbath." Gweddiwch cyn, ac yn y gorthrymder mawr. Yr oedd gweddi yn ddigon effeithiol i beri na byddo y gorthrymder yn y gauaf nac ar y Sabbath. Mawr fyddai y gorthrymder hwn—"y fath," meddai'r Gwaredwr, "na bu o ddechreu y byd hyd yr awr hon, ac ni bydd chwaith."

DINYSTR JERUSALEM A GALLU GWEDDI.

Tystiolaetha hanesyddiaeth yn gyffelyb i'w ragfynegiadau ef am ddinystr Jerusalem. Dywed un awdwr, "Wylodd yr Iesu yn yr olwg ar ddinystr Jerusalem, ac y mae yn annichonadwy i unrhyw un o deimladau dyngarol ddarllen yr hanes heb wylo gyda'r Iesu." Dywedir i un cant ar ddeg o filoedd o'r Iuddewon farw yn y gwarchae, heblaw y lluaws mawr a laddwyd mewn parthau ereill; ac oni buasai i'r Arglwydd fyrhau y dyddiau hyny buasai cenedl Israel wedi ei diwreiddio a'i dinystrio. "Eithr er mwyn yr etholedigion, efe a fyrhaodd y dyddiau hyny."

Yn ei ragfynegiadau dywed hefyd y byddai i gau-gristiau a gau-brophwydi gyfodi yn nherfyn y dinystr i geisio twyllo, trwy arwyddion a rhyfeddodau. Gosodent eu hunain allan fel gwaredwyr gweddill y genedl o dan iau orthrymus Rhufain. Dywed y gair a ganlyn eu bod yn fedrus i dwyllo: "Hyd oni thwyllant, pe byddai bosibl, ïe, yr etholedigion;" ond wrth yr etholedigion dywed, "Eithr ymogelwch chwi: wele, rhagddywedais i chwi bob peth." Yr ydwyf yn rhagfynegi i chwi fel y byddo i chwi wylio. Yr ydych chwi i gael eich cadw rhag cael eich twyllo ganddynt trwy i chwi ymogelyd a gwylio. Pan weloch chwi yr arwyddion o'm dyfodiad i farnu Jerusalem a'i phobl, bydd yn golygu hefyd fy nyfodiad i sicrhau a lledaenu fy nheyrnas mwy ysbrydol.

## GWYLIO RHAG Y GAU-GRISTIAU A'R GAU-ATHRAWON.

Er mwyn eu cymhell i wylio a deall arwyddion yr amserau, dywed, "ond dysgwch ddameg oddiwrth y ffigysbren. Pan fo y gangen yn dyner a'r dail yn tori allan, chwi a wyddoch fod yr haf yn agos." Bydd rhai ohonoch yn fyw i weled yr amgylchiadau fydd yn ddiwedd i'r hen fyd crefyddol, ac yn ddechreuad i lwyddiant fy nheyrnas yn y byd. Pan weloch chwi yr arwyddion a ragfynegais i chwi, gwybyddwch fod teyrnas Dduw yn agos. Y mae diwedd yr oruchwyliaeth Iuddewig yn sicr, a sicr hefyd ydyw sefydliad, lledaeniad, a llwyddiant fy nheyrnas yn y byd.

Y mae efe megis yn llithro oddiwrth ei ddyfodiad i farn yn erbyn Jerusalem i'w ail-ddyfodiad i farnu y byw a'r meirw yn niwedd y byd. Dywed nad ydyw amseriad y farn ddiweddaf wedi ei ddatguddio gan y Tad. Ni roddodd fy Nhad orchymyn i mi i wneyd yn hysbys amser y farn ddiweddaf. Yn ol gorchymyn fy Nhad yr wyf fi yn llefaru. "Eithr am y dydd hwnw a'r awr," meddai, "ni ŵyr neb, na'r angelion sydd yn y nef, na'r Mab, ond y Tad." Llefara efe y pethau a ddywed y Tad wrtho i'w mynegi ; nid oedd y Tad wedi gorchymyn iddo hysbysu amser ei ddyfodiad i'r farn ddiweddaf.

## ANOGAETH I WYLIO A GWEDDIO.

Yma dywed wrth bawb, "Gwyliwch." Mae amser dyfodiad Mab y dyn trwy angau a barn yn ddirgelwch heb ei ddatguddio. Y mae ei ddyfodiad yn sicr, ac yn galw am ymdrech neillduol i fod yn barod i'w gyfarfod ; a chan fod amser ei ddyfodiad heb ei ddatguddio, y mae galwad arnom i fod yn barod bob amser erbyn ei ddyfodiad ef. Priodol y dywed, gan hyny, "Yr wyf yn dywedyd wrth bawb, Gwyliwch." Gwyliwch a gweddiwch bob amser, gan fod fy nyfodiad yn sicr, ac na wyddoch y dydd na'r awr ; byddwch barod bob dydd ac awr.

## DINYSTR DINASOEDD Y GWASTADEDD.

"Yr un modd hefyd ag y bu yn nyddiau Lot: yr oeddynt yn bwyta, yn yfed, yn prynu, yn gwerthu, yn planu, yn adeiladu; eithr y dydd yr aeth Lot allan o Sodom, y gwlawiodd tân a brwmstan o'r nef, ac a'u difethodd hwynt oll."—Luc xvii. 28, 29.

Mynega yma sydynrwydd ei ddyfodiad trwy sydynrwydd dyfodiad y diluw a dinystr dinasoedd y gwastadedd. Deuai dinystr disymwth y dinasoedd yn fyw i feddwl yr Iesu, debygem, pan yn teithio glanau yr Iorddonen a'r Môr Marw. Trodd y gawod frwmstan o'r nef y dinasoedd a'r gwastadedd hyfryd yn fôr marw, yr hwn sydd yn chwe' milldir a deugain o hyd, ac yn naw milldir o led, yn agos i'r hwn ni flagura bywyd, ac y teyrnasa marwolaeth.

Gwna dynion gamddefnydd o ansicrwydd amser ei ddyfodiad. Yn lle gwylio a gweddio bob amser, yn ol ei gyfarwyddyd ef, ymollyngant i ddiofalwch, pleserau, a bydolrwydd. Gofynant, "Pa le y mae addewid ei ddyfodiad ef." Rhybuddia hwynt rhag trymhau y meddwl a'r galon i gwsg ysbrydol. Y mae pleserau a moethau cnawdol a phechadurus, a gofalon y byd a thwyll cyfoeth, yn cynyrchu cwsg ysbrydol. Gwyliwch, meddai, fel gweision ffyddlawn yn parotoi ac yn disgwyl eu harglwydd yn ol o ymdaith bell, wedi gadael ei dŷ a rhoddi awdurdod i'w weision, ac i bob un ei waith ei hun, a rhoddi gorchymyn i'r drysor wylio. Y mae yr hwn sydd â gofal y drws arno yn gwylio ei feistr yn ol, er mwyn rhoddi agoriad croesawgar iddo i'w dŷ, a gwna pob un ei waith a ymddiriedwyd iddo yn y tŷ. Trwy i bob un fod yn effro i wneyd ei waith ei hun, nid ydynt yn ddifater ac yn cysgu pan y daeth eu harglwydd. Trwy i chwi fod yn effro i wneyd eich gwaith drosof ac er fy mwyn y bydd i mi eich cael yn effro ac yn barod i'm cyfarfod pan y deuaf i'ch cyrchu ataf fy hun, ac felly y gellwch ddianc rhag dychrynfeydd fy nyfodiad, a sefyll ger fy mron fel fy ngweision ffyddlawn.

A gwybyddwch hyn : Pe buasai gwr y tŷ yn gwybod fod y lleidr yn bwriadu ac yn cynllunio d'od i'w dŷ i ladrata, ni buasai yn gallu bod yn dawel i orphwys a chysgu : "Efe a wyliasai ac ni adawsai gloddio ei dŷ trwodd." Am hyny byddwch chwithau barod ; y mae Mab y dyn yn d'od, a daw yn yr awr ni thybioch ; gan hyny byddwch barod bob amser. Gwas ffyddlawn a doeth iddo ef hyd y diwedd, medd efe, a fydd yn effro, yn barod ac yn ddedwydd yn nydd ei ddyfodiad ef. Caiff hwn ei ddyrchafu i sefyllfa [uwch, ac anhraethol well. Dywed, Byddwch weision ffyddlawn a doeth i mi hyd fy nyfodiad : gofalaf am danoch, a chwi a gewch gyd-deyrnasu gyda mi.

Dywed y gwas drwg yn ei galon a'i feddwl, "Y mae fy arglwydd yn oedi dyfod." Y mae yr anffyddlawn yn camddefnyddio yr ymddiriedaeth a dderbyniodd i'w amcanion a'i bleserau ei hun. Diwedd hanes y rhagrithwyr yn fy nheyrnas, medd yr Iesu, fydd cael eu taflu i'r tywyllwch eithaf. O ! ddiwedd ofnadwy !

# PENOD XX.

---

*Dameg y deg morwyn—Dameg y talentau—Desgrifiad o'r farn ddiweddaf—Y penaethiaid yn ymgynghori pa fodd y dyfethent ef—Y swper yn Bethania—Mair yn tywallt yr enaint ar ei ben—Judas yn rhybudd ac yn ddychryn—Judas yn ei werthu, ac yn edrych am amser cyfaddas i'w fradychu—Yr Iesu yn anfon Iago ac Ioan—Efe a'i ddysgyblion, nos Iau, yn bwyta y Pasg—Y deuddeg yn ymryson pwy a fyddai fwyaf—Ein Harglwydd yn golchi traed ei ddysgyblion—Yn nodi allan y bradwr—Efe ei hun yn safon eu cariad at eu gilydd—Ei ofal am danynt.*

---

### DAMEG Y DEG MORWYN.

"Yna tebyg fydd teyrnas nefoedd i ddeg o forwynion, y rhai a gymerasant eu lampau, ac a aethant allan i gyfarfod â'r priodfab; a phump ohonynt oedd gall, a phump yn ffôl."—MATTH. xxv. 1.

Ychwanega yr Iesu y ddameg hon at yr un flaenorol, i gadarnhau ei anogaeth i wyliadwriaeth a pharotoad digonol gogyfer â'i ddyfodiad ef. Yn y ddameg flaenorol y rhai parod i gyfarfod ei ddyfodiad ydyw ei weision ffyddlawn a doeth; yn y ddameg hon deg o forwynion yn myned i gyfarfod y priodfab pan yn d'od i gyrchu y briodasferch i'w gartref ei hun, a ddefnyddia efe i gymhell y gwirionedd dan sylw arnynt. Yr oedd deg yn nifer arferedig yn mysg yr Iuddewon i gyrchu y briodasferch. Y mae y rhai ffol yn cael eu cyfrif yn ffol am nad ydynt yn gwneyd darpariaeth ddigonol i gyfarfod y priodfab, ac i fyned i mewn i'r wledd. Ffol ydym yn ngolwg yr Iesu pa bethau bynag a wnawn, ac a

feddianwn ni yn y byd, os heb geisio a meddianu darpariaeth ddigonol i'w gyfarfod ef, a myned i mewn gydag ef i'r wledd dragywyddol. Yr hyn sydd yn rhoddi y cymeriad o rāi call i'r morwynion call yw eu bod yn gwneyd darpariaeth bersonol a digonol i gyfarfod y priodfab, ac i fyned i mewn gydag ef i'r wledd.

"Ac ar haner nos y bu gwaedd, Wele, y mae y priodfab yn dyfod; ewch allan i gyfarfod âg ef." Yna y cyfododd yr holl forwynion hyny; a phan yn trwsio eu lampau deallodd y morwynion ffol fod eu heiddo hwy yn diffoddi, a hyny mewn adeg yr oedd mwyaf o angen am danynt. Gofynant i'r rhai call, "Rhoddwch i ni o'ch olew chwi, canys y mae ein lampau yn diffoddi." Nid felly, atebasant hwythau; y mae perygl y diffydd ein lampau ninau trwy ranu â chwi. Peryglus ydyw disgwyl gormod oddiwrth ddynion. Gall plant brofi siomedigaeth trwy ddisgwyl gormod wrth rieni duwiol. Y cyfarwyddyd a rydd y rhai call ydyw, "Ewch at y rhai sydd yn gwerthu, a phrynwch i chwi eich hunain." Nid oes genym ni ddim i'w werthu i neb arall; rhaid i chwithau brynu i chwi eich hunain. Wele hwy yn myned ymaith i brynu yn ol cyfarwyddyd y morwynion call. Diau iddynt roddi y cyngor goreu iddynt dan y fath amgylchiadau; ond yr oedd yr adeg i gynghori a gwneuthur wedi myned yn bell. "A thra yr oeddynt yn myned ymaith i brynu, daeth y priod-fab; a'r rhai oedd barod a aethant i mewn gydag ef i'r briodas: a chauwyd y drws. Wedi hyny y daeth y morwynion ereill hefyd, gan ddywedyd, Arglwydd, Arglwydd, agor i ni." Wele hwy wedi deffro, ac yn dangos parodrwydd i wneyd y cyfarwyddiadau tuagat fod yn barod, a thaer ydynt am agoriad i mewn; ond yr oedd yr adeg prynu wedi myned heibio: ofer oedd myned at y drws i guro; "Yn wir, meddaf i chwi," dywedai yr Arglwydd, "nid adwaen chwi." Ni welais chwi o'r blaen yn ceisio. Yr

ydych wedi colli yr adeg i ymbarotoi i ddyfod i mewn, ac wedi bod yn rhy ddifater yn y farchnad i brynu a meddianu i chwi eich hunain. Nid oes dim trafnidiaeth yn pasio rhwng y bobl glaiar a difater gyda chrefydd â'r Gwaredwr. Nid ydynt erioed wedi deffro i'w hangenion ysbrydol fel ag i lefain am drugaredd. Y mae yr Arglwydd yn gwrando llef pechadur mewn cyfyngder yn achos ei enaid yn yr adeg briodol.

Ei ffyddloniaid ef hyd y diwedd ydyw y briodasferch. Y mae efe yn adnabod ei bobl fel ei eiddo. Y rhai parod i fyned i mewn ydyw diwedd eu hanes yn y byd. Y mae y pethau a welir wedi cael eu hamcan ynddynt trwy iddynt geisio a meddianu y pethau sydd uchod ar eu pwys. Gwnant elw personol trwy brynu iddynt eu hunain, a dewisant ran i sefyll ynddi yn dragywydd. O! ddiwedd dedwydd. Llefarodd y geiriau tarawiadol hyn wrth ei ddysgyblion ar un o lechweddoedd hyfryd mynydd yr Olewydd. Hoffai ddysgu a rhybuddio ei ddysgyblion.

### DAMEG Y TALENTAU.

Dywed yr Iesu yn nameg y talentau, er mwyn calonogi ac anog ei weision i ffyddlondeb a gweithgarwch yn ei deyrnas hyd y diwedd, ei fod efe yn myned i wneyd cyfrif â hwynt, a'u gwobrwyo yn ol eu ffyddlondeb, ac yn myned i dynu oddiwrth y rhai anffyddlawn a difater. Nid ydyw yn rhoddi yr un faint i bawb pan yn myned oddicartref; ond y mae efe yn cyfrif â hwynt pan y dychwel yn ol, fel y mae efe wedi rhoddi iddynt i farchnata ac enill atyut. Y mae yn disgwyl i ni fanteisio ar ei roddion i enill i ni ein hunain, ac i wneyd daioni i ereill.

Yn nameg y morwynion, y mae ei eglwys ar y ddaear yn cael ei desgrifio fel rhai yn disgwyl eu Harglwydd. Ynddi hi cawn ddesgrifiad o allu mewnol bywyd

ysbrydol ei ffyddloniaid trwy ei ras ef; ac yn nameg y talentau mynegir i ni eu gweithgarwch fel ei weision. Prydferth a naturiol ydyw y cysylltiad rhwng gallu mewnol y bywyd ysbrydol yn y naill a'r gweithgarwch diflino a gwastadol yn y llall. Y mae maintioli manteision allanol i weithio yn cyfateb i faintioli y gallu ysbrydol o fewn. Y mae y cymhwysder personol i waith a maes y llafur yn cydweddu â'u gilydd yn ei deyrnas ef.

Y mae efe yn gwneyd cyfrif â'i weision, ac yn eu gwobrwyo am eu gwaith. Y mae yr hwn a dderbyniodd y pum' talent wedi marchnata â hwynt er elw iddo ei hun, ac er iachawdwriaeth ereill, ac helaethiad ei deyrnas ef yn ol fel yr oedd wedi derbyn, hyd nes yr enillodd bum' talent ereill atynt. Y mae y gwasanaeth a gyflawnodd yn fynegiad o'r swm a dderbyniodd, a'r un modd yr hwn a dderbyniodd ddwy dalent a enillodd yntau ddwy ereill atynt. Dywed eu harglwydd wrth y ddau, "Da, was da a ffyddlawn." Y mae yr Arglwydd Iesu yn cael boddlonrwydd ynddo ei hnn, ac yn profi llawenydd cynhauaf llafur ei enaid yn y gwaith a gyflawna ei ffyddloniad ef yn y byd. Nid ydyw y daioni a roddodd iddynt wedi myned yn ofer. Y mae y draul a gymerodd arnynt wedi talu yn dda. Dywed wrth y ddau ffyddlawn, "Dos i mewn i lawenydd dy arglwydd." Diwedd hanes a dyfodol ei ffyddloniaid ef ydyw myned i mewn i lawenydd eu Harglwydd. Bydd eu llawenydd yn gyffelyb i lawenydd y cynhauaf, pan y gwelant ei ymdrech fawr ef a'u hymdrechion hwythau wedi talu yn dda. Bydd efe yn cael ei ogoneddu yn ei saint. Ond y mae yr hwn a dderbyniodd un dalent yn enill y cymeriad o was drwg a diog trwy guddio arian ei arglwydd; ni wnaeth ddefnydd o ddim a dderbyniodd i feithrin meddyliau uchel am ei arglwydd. Coleddai syniadau caled am dano, gan ddywedyd mewn gair a gweithred

mai gwr caled ydoedd. Dywed ei arglwydd am gymeryd y dalent oddiwrtho a'i rhoddi i'r hwn oedd ganddo ddeg talent; canys i bob un sydd yn troi y manteision yn wasanaeth y rhoddir, ac efe a gaiff helaethrwydd, ac oddiar yr hwn ni wna ddefnydd o'r manteision y dygir oddiarno, ïe, y manteision sydd ganddo. Dywed am fwrw allan y gwas anfuddiol i'r tywyllwch eithaf.

### MAB Y DYN YN D'OD I FARNU.

"A Mab y dyn, pan ddêl yn ei ogoniant, a'r holl angelion sanctaidd gydag ef."—MATT. xxv. 31.

Yma rhydd ein Harglwydd ddesgrifiad tarawiadol o'r farn ddiweddaf. Mab y dyn fydd y barnwr. Gwahanol iawn ei wedd fydd efe i'r hyn ydoedd pan yn cael ei brofi gan bryfaid llygredig, a'i arwain o lys i lys. Daw i farnu yn ei ogoniant, a'r holl angelion sanctaidd gydag ef. Eistedda ar orseddfainc ei ogoniant, a chydgesglir ger ei fron ef yr holl genhedloedd. Bydd gweinyddiad y farn yn ol gweithredoedd dynion, a'u hymddygiadau tuagato ef—bydd yn cyfrif gwneyd i'w bobl a pheidio gwneyd yn wneyd a pheidio gwneyd iddo ef ei hun. Gweithredoedd eu cariad hwy tuagato ef yn ei bobl fydd ei reswm dros eu gwahodd i etifeddu y deyrnas. A dywed, "Ewch oddiwrthyf" wrth wrthodwyr ei Efengyl a'i ddirmygwyr yn ei bobl.

### Y SWPER YN BETHANIA.

"Wedi gorphen y geiriau hyn, dywedodd yr Iesu wrth ei ddysgyblion, Chwi a wyddoch mai gwedi deuddydd y mae y Pasg, a Mab y dyn a draddodir i'w groeshoelio." Cau eu llygaid yr oedd y dysgyblion ar ei fynegiadau am ei groeshoeliad a'i waradwyddiadau; ond yr oedd gelyniaeth yr archoffeiriaid a'r ysgrifenyddion yn effro. Pan yr oedd ei elynion yn cynllunio i'w groeshoelio, cyfeiriodd ef a'i ddysgyblion tua llety tawel

a charedig yn Bethania, ac yno gwnaethant iddo swper yn nhŷ Simon y gwahanglwyfus.

Yr oedd Martha yr adeg hon, fel bob amser, yn dangos ei charedigrwydd trwy wasanaethu; a Lazarus oedd un o'r rhai a eisteddent gydag ef. Dywed rhai fod Simon yn eistedd un ochr iddo a Lazarus yr ochr arall. Y mae yn briodol meddwl fod y teulu hwn yn teimlo rhwymedigaeth neillduol iddo wedi iddo wneyd y fath gymwynas â hwy trwy adgyfodi eu brawd, a'i ddwyn ef fel hyn yn ol iddynt. Dacw Mair, yn ol anogaeth a chydweithrediad y teulu yn ddiau, yn cymeryd pwys o enaint nard gwlyb gwerthfawr, ac yn eneinio pen yr Iesu, ac â'r gweddill yn eneinio ei draed ef, ac yn eu sychu â'i gwallt; a'r tŷ a lanwyd gan arogl yr enaint. Nid arbedodd Mair draul i ddangos ei chariad at yr Iesu. Gofynodd Judas paham na werthwyd yr enaint hwn, a'i roddi i'r tlodion. Gwerth yr enaint oedd o naw i ddeg punt o'n harian ni. Y mae yr efengylwyr Matthew a Marc yn rhoddi lle i ni feddwl fod y dysgyblion, neu rai ohonynt, yn anfoddlawn ynddynt eu hunain, a gofynasant, "I ba beth y bu y golled hon?" Ond Judas oedd tad yr ysbryd cybyddlyd ac ariangar yn mysg y dysgyblion; a da fuasai pe buasai yr ysbryd hwn, fel Judas, yn myned i'w le ei hun o fysg dysgyblion yr Iesu; ond y mae yr un ysbryd cyfyng a chybyddlyd yn fyw yn mysg y dysgyblion wedi i Judas fyned i'w le ei hun. Dangosai ei fod yn cydymdeimlo â'r tlodion, ond y mae Ysbrydoliaeth wedi gofalu dynoethi ei dwyll a'i ragrith. Gellid tybio fod y cybyddion a'r twyllwyr yn ddynion têg, teimladwy, a synhwyrol. Dywedodd Judas hyn, nid oherwydd ei ofal am y tlodion, "ond am ei fod yn lleidr, ac fod ganddo y pwrs, a'i fod yn dwyn yr hyn a fwrid ynddo." Trysorydd drwg ydoedd Judas. Paham y dewiswyd ef? Ni wyddom. Gallai ei fod yn hynod awyddus am y swydd, ac mai rhywbeth felly oedd

yn ei gadw i ddilyn yr Iesu, er mantais iddo i'w fradychu yn y diwedd. Dywedodd yr Iesu wrtho, "Gad iddi; paham y gwnewch flinder iddi? Erbyn dydd fy nghladdedigaeth y cadwodd hi hwn. Hyn a allodd hon, hi a'i gwnaeth." Rhydd y ganmoliaeth uchaf a roddodd i neb erioed i Mair. Hi a wnaeth hyn i'm claddu i; y mae hi wedi myned o'ch blaen chwi. Bydd ei hanes yn cael ei gario gyda'r Efengyl i'r holl fyd.

### JUDAS YN ADDFEDU I FRADYCHU EI ARGLWYDD.

"A Judas Iscariot, un o'r deuddeg, a aeth ymaith at yr archoffeiriaid, i'w fradychu ef iddynt."—MARC xiv. 10.

Mae hanes Judas Iscariot yn rhybudd ac yn ddychryn i bobl sydd yn llenwi safleoedd uchel mewn cysylltiadau crefyddol. Yr oedd Judas yn un o'r deuddeg. Y mae yn debyg mai efe oedd yr unig un o'r deuddeg a gafodd ei fagu yn agos i'r deml. Dichon hefyd fod geiriau yr Iesu wedi cael digon o ddaear ynddo i egino a thyfu; ond i ddrain cariad at arian dagu y gair ynddo. Tir dreiniog oedd ei feddwl a'i galon gallem feddwl, a thagwyd gair yr Iesu ynddo gan gariad at y byd. Gobeithion daearol, debygem, oedd ei obeithion. Canlynai yr Iesu er mwyn elw bydol. Mae y bobl ag y mae y byd a'i bethau yn dringo yn uchel i'w bryd mewn perygl o wneyd proffes o Grist er mwyn elw bydol. Llaesai Judas ei wyneb, debygem, pan y galwai yr Iesu hwynt i ymwadu â hwy eu hunain, a chodi i fyny y groes a'i ganlyn ef, a phan y rhagfynegai iddynt yr erledigaethau oedd yn eu haros o achos ei enw ef; ac yr oedd ei ragfynegiadau hefyd am ei ddioddefiadau a'i farwolaeth trwy angeu y groes yn cymylu ei ragolygon daearol. Darfu esgyniad Crist i Jerusalem, trwy farchogaeth ar ebol asen, adfywio ychydig ar ei ddisgwyliadau bydol, gallem feddwl; ond yr oedd geiriau llymion yr Iesu yn y deml yn erbyn y rhagrithwyr, a'i ddysgeidiaeth gyda

golwg ar ddyfodol ei deyrnas yn ei siomi drachefn ; ond parhai i'w ddilyn hyd yma. Aeth gyda hwynt fel un o'r deuddeg i Bethania, a chafodd fod gyda hwynt yn y swper a wnaed iddynt yn nhŷ Simon. Yr oedd efe wedi bod ar fedr ei fradychu ef am ryw gymaint o amser; ond yr oedd edrych ar Mair yn gwneyd y fath golled gyda dymuniadau daearol, a gwrando ar yr Iesu yn rhoddi y ganmoliaeth uwchaf a glywodd o'i enau iddi er pan y dechreuodd ei ganlyn, yn ei addfedu i gyflawni ei fwriad.

Wrth edrych gellir gweled mai yr un gair sydd yn ngofyniad Judas, "I ba beth y bu y golled hon?" ag sydd yn ngair yr Iesu pan yn ei alw ef "Mab y golledigaeth." Y dyn yn achwyn ar amlygiadau o barch a chariad Mair at ei Cheidwad, a'r hyn a ganmolid gan yr Iesu, a'r un pryd ei enaid ei hun yn golledig. Mae y cybyddion gydag achos yr Arglwydd Iesu, yn colli yr enaid wrth garu ac enill y byd.

Yr oedd Judas erbyn hyn wedi myned mor wâg o bobpeth oedd yn peri iddo gadw yn mlaen yn ei gysylltiad â'r Iesu fel y gwelodd Satan y gallai ef fyned i mewn iddo, ac y gallai wneyd defnydd ohono i fradychu ei Arglwydd. Fe aeth Satan i mewn iddo, ac a'i meddianodd yn offeryn yn ei law i gyflawni y gwaith mwyaf beiddgar ac anystyriol a gyflawnwyd yn y byd. Gadawodd Judas yr Iesu a'i ddysgyblion yn Bethania, ac efe a aeth dan leni tywyllwch y nos, yn ddiarwybod i'r dysgyblion ereill y mae yn debyg, i Jerusalem. Feallai iddo gyfeirio tua'r deml, ac os oedd yno borthor yn gwylio, yr oedd yn cael pasio yn rhwydd trwy ddyweyd ei fod wedi d'od i fradychu Iesu o Nazareth. Galwodd yn nghyd yr archoffeiriaid a'r penaethiaid ; ac efe a fynegodd iddynt ei fwriad, a'i fod yn barod i wneyd rhywbeth i'w roddi yn eu dwylaw. "A phan glywsant, fe fu lawen ganddynt." Yr oeddynt yn llawenhau wrth

weled ei fwriad wedi cyrhaedd y fath addfedrwydd. Dacw nhw yn cynllunio gyda'u gilydd pa fodd y bradychai efe ef iddynt. Cytunasant i roddi iddo ddeg ar hugain o arian. Hwn oedd y pris a roddid am gaethwas neu gaethforwyn yn Israel pan y lleddid hwynt gan ŷch. Yr oedd perchenog yr ŷch i dalu deg sicl ar hugain o arian. Yr oedd y swm a dderbyniodd Judas o bedair i bum' punt o'n harian ni. Gwerthodd ei Arglwydd am bris caethwas neu gaethforwyn yn Israel. Ac o hyny allan edrychai Judas am amser nad oedd yno ddim pobl yn agos at yr Iesu, oherwydd bod arnynt ofn y bobl.

### PAROTOI I FWYTA Y PASG.

Boreu dydd Iau—dydd cyntaf y bara croew—daeth y dysgyblion at yr Iesu, a gofynasant iddo, "Pa le y myni i ni barotoi i ti fwyta y Pasg?" Hwn ydoedd y dydd yr oedd yr holl lefain i'w symud o'r tai i barotoi i fwyta y Pasg yn yr hwyr; ac yn mhrydnawn y dydd hwn y lleddid oen y Pasg yn nghyntedd y deml. Dydd hynod o brysur oedd y dydd Iau hwn yn Jerusalem a'r amgylchoedd trwy barotoadau y fath dyrfaoedd o bobl i fwyta y Pasg. Disgwyliai y dysgyblion, fe ddichon, y buasai ef yn trefnu i gadw y Pasg yn Bethania, gan yr ystyrid y lle mewn cysylltiad â Jerusalem, ac nad oedd hyny yn anmhriodol yn ngolwg y Rabbiniaid, ond gofalu am i'r oen gael ei ladd yn y deml; a thrwy hyny y byddai efe yn fwy o gyrhaedd ymosodiadau ei elynion. Ond mwy dewisol ganddo ef ydoedd bwyta y Pasg yn Jerusalem, oherwydd yno ydoedd y lle yn ol y gyfraith.

Dywedodd yr Iesu wrth Petr ac Ioan am fyned i Jerusalem i barotoi y Pasg. "Ewch," meddai, "parotowch i ni y Pasg." Fel cyfarwyddyd i Petr ac Ioan pa le y mynai efe iddynt barotoi y Pasg, dywedodd, "Pan ddeloch i mewn i'r ddinas, cyferfydd â chwi ddyn yn dwyn ystenaid o ddwfr: canlynwch ef i'r ty lle yr êl efe

i mewn;" ac efe a ddengys i chwi yr ystafell y parotowch y Pasg. Ni ddywedai pwy oedd y dyn a gafodd y fraint oruchel o ddangos yr oruwchystafell a rhoddi ei benthyg i'r Iesu a'i ddysgyblion i fwyta y Pasg, ac i sefydlu Swper yr Arglwydd cyn dyoddef ohono. Y prydnawn hwn y rhoddodd efe wers i'r dysgyblion ar ostyngeiddrwydd a chariad at eu gilydd, trwy olchi eu traed. Yma hefyd y llefarodd efe y gwirioneddau cysurlawn a diddanol iddynt ar ei ymadawiad â hwy, y rhai sydd hefyd yn gysur i'w bobl hyd y diwedd; ac yma yr offrymodd y weddi fawr gyfryngol. Dychymyga rhai mai Joseph o Arimathea, neu Ioan Marc, a gafodd y rhagorfraint grybwylledig. Tueddir ni i gredu, gan nad pwy ydoedd, ei fod yn adnabod yr Iesu, ac yn ei garu yn fawr.

Dywedodd yr Iesu, wedi eistedd i lawr gyda'i ddysgyblion yn yr oruwchystafell, pan aeth hi yn hwyr, "Mi a chwenychais yn fawr fwyta y Pasg hwn gyda chwi." Hwn ydyw y Pasg olaf i mi; "ni fwytâf fi mwyach ohono hyd oni chyflawner yn nheyrnas Dduw. Ac wedi iddo gymeryd y cwpan, a rhoddi diolch, efe a ddywedodd, Cymerwch hwn, a rhenwch yn eich plith; canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, nad yfaf o ffrwyth y winwydden hyd oni ddêl teyrnas Dduw." Yn ol Matthew, "hyd y dydd pan yfwyf ef gyda chwi yn newydd yn nheyrnas fy Nhad." Yr oedd efe yn myned yn ddiwedd i'r Pasg Iuddewig trwy ei sylweddoli, a gwneyd ei hun yn Basg newydd trwy aberthu ei hun.

Er mor agos i'r groes yr oedd ei ddysgyblion cododd yr hen gwestiwn a fu o'r blaen yn eu blino, Pwy ohonynt a debygid ei fod yn fwyaf? Nis gellir gwybod pa fodd y cododd y pryd hwn, a than y fath amgylchiadau cysegredig. Nid oedd gobeithion daearol y dysgyblion wedi gwywo yn ngolwg y groes. Efallai i'r dysgyblion ereill godi y cwestiwn oherwydd iddo ef ddewis Petr ac

Ioan i fyned i Jerusalem i barotoi y Pasc; neu gallai iddynt gymeryd achlysur i'w godi oddiwrth eu safle pan yn eistedd wrth y bwrdd i fwyta y Pasg. Nid oedd gan yr Iesu ond yr un cyfarwyddyd i fyned i fyny, sef trwy fyned i lawr, gan osod ei hun yn esiampl iddynt. Na feddyliwch, dywed, am ymddyrchafu fel brenhinoedd y cenhedloedd trwy arglwyddiaethu; eithr y mwyaf yn eich plith chwi bydded megis yr ieuengaf, a'r penaf megis yr hwn sydd yn gweini. Yr ydwyf fi yn eich mysg fel un yn gwasanaethu. Yr ydych chwi wedi aros gyda mi yn fy mhrofedigaethau. Y mae aros fel hyn gyda mi yn fy nhrallodion, pan yr oedd cynifer yn fy erbyn, yn dangos ffyddlondeb a chariad. Mi ofalaf fi am dalu i chwi am aros gyda mi. "Ac yr wyf fi yn ordeinio i chwi deyrnas, megis yr ordeiniodd fy Nhad i minau."

### YR IESU YN CARU EI BOBL HYD Y DIWEDD.

"A chyn gwyl y Pasg, yr Iesu yn gwybod ddyfod ei awr ef i ymadael â'r byd hwn at y Tad, efe yn caru yr eiddo y rhai oedd yn y byd, a'u carodd hwynt hyd y diwedd."—IOAN xiii. 1.

Yma cawn olwg ar anghyfnewidioldeb cariad a gofal yr Iesu am ei eiddo yn y byd. Ei eiddo neillduol yn y byd ydyw ei bobl. Gofalodd am ei bobl yn y dymhestl, yr hon oedd yn disgyn arno. Oeri a chilio yn fynych a wna cariad a chyfeillgarwch yn y storm. Yr oedd gan Job gyfeillion siriol mewn tawelwch a llwyddiant, ond darfu i ruadau y storm arno ef eu tarfu oddiwrtho, a'u gwneyd yn gysurwyr gofidus iddo. Ond wele gariad a gofal ein Hiachawdwr tuagat ei bobl yn parhau yn ddigyfnewid yn llifeiriant digofaint Duw arno am ein pechodau ni: "a'u carodd hwynt hyd y diwedd." Yn y dymhestl hon yr oedd yr hwn a greodd nef a llawr mewn llefain cryf a dagrau; cuddiai yr haul ei wynebpryd â thywyllwch rhag edrych ar ei Greawdwr yn

dioddef ar bren y groes. Holltai y creigiau yn nghymydogaeth yr amgylchiad pan yr oedd Duw yn taro ei Fab i beidio ein taro ni. Yr oedd curiadau y storm hon yn dihuno y saint yn y beddau ; ond wele gariad a gofal yr Iesu at ei eiddo yn y byd yn parhau yn ddigyfnewid : " a'u carodd hwynt hyd y diwedd."

Y mae cariad yr Iesu at ei eiddo yn y byd yn dal yn ddigyfnewid er pob anheilyngdod ynddynt hwy. Ymryson â'u gilydd yr oeddynt yma pwy fyddai fwyaf : ceryddai hwynt â'i gariad a'i ostyngeiddrwydd trwy olchi eu traed. Dywedodd wrthynt, Y mae tymhestl ar ddisgyn arnom a'n gwasgara oddiwrth ein gilydd, ond mi ofalaf fi am danoch yn y rhyferthwy. Deuaf i'ch casglu ataf drachefn wedi i chwi gael eich gwasgaru oddiwrthyf.

Dywedodd Petr, " Pe rhwystrid pawb o'th blegid di, eto ni'm rhwystrir i byth." " A'r Arglwydd a ddywedodd, Simon, Simon, wele, Satan a'ch ceisiodd chwi, i'ch nithio fel gwenith." Dywed Satan nad oes dim ond ûs ynoch, a gofynodd am gael eich gosod o flaen y wyntyll. Gwelaf dy fod di, Simon, mewn perygl i fyned ymaith o flaen y wyntyll, ac anfonais ddeisyfiad at fy Nhad drosot. Da iawn i ni feddwl am yr Eiriolwr mawr yn anfon deisyfiad neillduol at ei Dad ar ran un o'i bobl mewn perygl yn y byd. "Tithau pan y'th dröer," ebe fe wrtho, "cadarnhâ dy frodyr." Bydd genyt brofiad o'r perygl i rybuddio a chynghori dy frodyr, a'u cadarnhau.

Cychwynodd Petr fyned ar encil, a hwnw yn encil tragywyddol o'i ran ei hun. Paham na buasai yn ei adael yn llwyr? Cariad a gofal anghyfnewidiol yr Iesu a'i cadwodd rhag myned ymaith o flaen y wyntyll. Pan oedd Petr yn gwadu, yr Iesu a drodd ac a edrychodd arno. Yr oedd gofal pryderus ei gariad yn argraphedig ar ei wynebpryd. Methodd Petr a dal ei olygon sanctaidd : efe a aeth allan ac a wylodd yn chwerwdost.

Gofalodd am ei ddysgyblion dan bwysau ymddiriedaeth ei Dad iddo yn ein hiachawdwriaeth. Gwyddai fod gogoniant Duw ac iachawdwriaeth y colledig yn ei law. Yr oedd cyfrifoldeb cenhadaeth ei anfoniad gan y Tad yn pwyso arno. Gwyddai efe am fanylion gofynion ei gyfiawnder a'i sancteiddrwydd; ond yn y profiad o'r holl gyfrifoldeb mawr hwn, rhoddodd wers i'w ddysgyblion ar ostyngeiddrwydd a brawdgarwch trwy olchi eu traed. Gofynodd Petr, yn ol ei feddwl uchel am y Gwaredwr, "A wyt ti yn golchi fy nhraed i?" a dywed gyda mwy o benderfyniad, "Ni chei di olchi fy nhraed i byth." Dywedodd yr Iesu wrtho, "Oni olchaf di, nid oes i ti gyfran gyda myfi." Os nad ydwyt yn derbyn fy ngoruchwyliaethau i dy wneyd yn gymhwys i fod gyda mi, ni chei aros gyda mi. Trwy y gair golchi o enau yr Iesu daeth mesur o oleuni i feddwl Petr i roddi iddo syniad mwy ysbrydol am olchi na golchi traed; a gwaedda, "Arglwydd, nid fy nhraed yn unig, eithr fy nwylaw a'm pen hefyd." Dywedodd yr Iesu, "Yr hwn a olchwyd, nid rhaid iddo ond golchi ei draed, eithr y mae yn lân oll: ac yr ydych chwi yn lân, eithr nid pawb oll." Nid oedd Judas wedi derbyn dim tuagat ei lanhau. Yr ydych chwi, meddai, yn lân, ac wedi eich cyfiawnhau gerbron Duw; ond mewn angen golchi y rhodiad, y geiriau, a'r gweithredoedd. Yr ydych yn myned allan i'r byd ac yn llychwino eich buchedd a'ch cymeriad. Da i ni feddwl am y gwirionedd hwn a ddysgodd yr Iesu pan yn golchi traed ei ddysgyblion. Mae Duw yn maddeu bob dydd i'w bobl fel Tad anwyl a thosturiol. Y mae haeddiant yn aberth Crist i lanhau a phuro ein cymeriadau. Cawn ofyn maddeuant ar hyd y daith.

Yma dymuna arnynt wneyd defnydd ymarferol o'i esiampl iddynt. "Am hyny os myfi, yn Arglwydd ac

yn Athraw, a olchais eich traed chwi, chwithau a ddylech olchi traed eich gilydd. Byddwch ostyngedig a pharod i wasanaethu ar eich gilydd, ac amddiffyn eich gilydd. Byddwch ffyddlawn i'ch gilydd. Bydd digon o ymosod arnoch oddiallan, heb i chwi ymosod ar eich gilydd. Y mae y gwas yn myned o'i le priodol ei hun wrth fyned yn uwch na'i feistr. Yn ei le priodol ei hun y mae y gwas yn llwyddianus a dedwydd.

Nid wyf yn cyhoeddi gwyn fyd uwchben un ohonoch, am yr hwn y dywed y brophwydoliaeth, "Yr hwn sydd yn bwyta bara gyda mi a gododd ei sawdl yn fy erbyn." Na chymerwch eich digaloni pan y gweloch hwn yn troi yn fy erbyn, ond yn hytrach cymerwch ei ymadawiad yn fantais adnewyddol i gryfhau eich ffydd ynof fel y Messiah. Yr oedd efe yn dymuno iddynt fod yn galonog dan yr ystyriaeth a'r grediniaeth fod eu swydd fel ei weision a'i apostolion yn rhagorfraint ddigyffelyb. Bydd eich hanfoniad genyf fi, meddai, yn eich gosod yn fy lle i, a bydd eich derbyn chwi yn golygu fy nerbyn i, a fy nerbyn i yn golygu derbyn fy Nhad, yr hwn a'm hanfonodd i.

### Y BRADYCHWR YN CAEL EI NODI ALLAN.

Fel yr oedd bwriad Judas yn addfedu yr oedd ei bresenoldeb yn myned yn fwy o faich ar ysbryd ein Gwaredwr. Gwelai efe ei fwriad wedi cyrhaedd y fath addfedrwydd nes gwerthu ei Arglwydd i'r archoffeiriaid a phenaethiaid y bobl. Gwyddai ei fod wedi derbyn deg ar hugain o arian am dano. Wedi iddo lefaru y pethau hyn, a dechreu bwyta y Pasg, efe a gynhyrfwyd yn yr ysbryd, ac a ddywedodd, "Yn wir, yn wir y dywedaf wrthych, y bradycha un ohonoch fi. Wele law yr hwn sydd yn fy mradychu ar y bwrdd." Yr oedd llaw y bradwr wedi d'od i agosrwydd bron yn rhy agos iddo allu ei oddef. Darfu i'r fath fynegiad eu gwneyd

yn drist iawn, a throisant bob un ato ei hun: ni feddylient am neb arall, ond ofnent bob un am dano ei hun. Gofynodd bob un ohonynt, "Ai myfi yw, Arglwydd?" Gofynodd Judas iddo, "Ai myfi yw efe, Athraw?" Dywedai ei gydwybod, Ataf fi y cyfeiria. Yr oedd euogrwydd yn ei wedd ac yn ei gwestiwn. Dywedodd yr Iesu, "Ti a ddywedaist." Yr oedd Judas wedi bod yn hynod lwyddianus i guddio ei ragrith a'i dwyll oddiwrth y dysgyblion. Yr oedd mantell ei ragrith yn rhy drwchus iddynt hwy allu gweled ei fwriadau bradwrus. Yr oedd ei ragrith, ei amcanion bydol, a'i gynlluniau dichellgar yn noeth ac yn agored i olygon yr Iesu.

### SATAN YN GWNEYD DEFNYDD O JUDAS.

Amneidiodd Petr ar Ioan, yr hwn oedd yn pwyso ar fynwes yr Iesu, i ofyn iddo pwy oedd efe, a gofynodd Ioan, "Pwy yw efe, Arglwydd?" I wneyd yn hysbys pwy oedd y bradwr, rhoddodd yr Iesu damaid wedi ei wlychu i Judas, ac yna fe aeth Satan i mewn iddo. Onid oedd Satan ynddo o'r blaen, ac oni eilw yr Iesu ef yn ddiafol? Oedd. Mab y diafol oedd efe; ond yr oedd ef, trwy i'r Iesu roddi y tamaid iddo, ac iddo ei dderbyn, yn cael ei gyhoeddi yn fradychwr, ac yntau ei hun yn cydnabod ei hun fel arch-fradychwr y byd hwn, oherwydd cafodd ragorach manteision na neb arall i fyned yn fawr fel bradychwr. Trwy hysbysiad yr Iesu ohono ac o'i gymeriad, dacw bobpeth a'i cymhellai i ganlyn yr Iesu yn tori i fyny, a Satan yn myned i mewn iddo, ac yn ei feddianu yn llwyr fel offeryn yn ei law i drosglwyddo ein Gwaredwr i ddwylaw ei elynion, i'w groeshoelio a'i ladd. Ni welodd ond daioni pur, a charedigrwydd anghydmarol, ac uniondeb difai i Dduw yn y Gwaredwr. Ymddengys yn Judas y casineb diachos sydd mewn pechod. Dywed y geiriau a lefarodd yr Iesu yma ei fod yn gollwng ei afael ohono yn llwyr.

"Yr hyn yr wyt ti ar fedr ei wneuthur gwna ar frys." Gofynwn i'r Iesu ddal gafael ynom; ni awn yn mhell iawn os gollynga ef ei afael ynom.

### AWR EI FARWOLAETH YN AWR EI OGONEDDIAD.

"Yn awr y gogoneddwyd Mab y dyn, a Duw a ogoneddwyd ynddo ef."—IOAN xiii. 31.

Mae presenoldeb dyn drwg, dichellgar, yn fwy o rwystr na dim mewn cymdeithas bur a sanctaidd. Yr oedd presenoldeb Judas gyda'r Iesu a'i ddysgyblion yn rhwystr i'r hwn oedd yn gweled dyfnderoedd ei galon ddrwg a dichellgar; ac wedi iddo fyned allan y mae ein Hiachawdwr fel yn teimlo awyrgylch y gymdeithas bur yn yr oruwchystafell wedi iachau llawer. "Yn awr," meddai, "y gogoneddwyd Mab y dyn." Yr oedd ymadawiad Judas fel arwydd o ddechreuad ei ddioddefiadau a'i farwolaeth; ond dan y gair gogoneddu y mae ei ddioddefiadau a'i farwolaeth. Pan yn son am galedwaith mawr ei oes defnyddia y gair gogoneddu bump o weithiau mewn dwy adnod. Gogoneddiad y mae efe yn ystyried ei ddioddefiadau a'i waradwyddiadau. Yr oedd efe yn dioddef a marw o dan gymhelliadau ei gariad tragywyddol, a gogoniant Duw yn iachawdwriaeth pechaduriaid yn amcan. Duw hefyd a'i gogonedda ef ynddo ei hun. Y mae efe yn edrych ar ei fuddugoliaeth ar uffern, angeu, a'r bedd, a'i berffeithiad yn dywysog ein iachawdwriaeth, yn d'od i'w ran yn unig trwy ei ufudd-dod hyd angeu y groes.

"O blant bychain," meddai, "eto yr wyf enyd bychan gyda chwi." Enw o anwyldeb ydyw yr enw a rydd arnynt yma. Y mae efe yn disgyn megis o'i ogoniant yma mewn tosturi at ei bobl, ac yn awr mae ei bobl heb fradychwr yn eu mysg. Ni ellwch chwi, meddai, fy nghanlyn yr awr hon. "Gorchymyn newydd yr ydwyf yn ei roddi i chwi, ar garu ohonoch eich gilydd." Y mae ei orchymyn iddynt garu eu gilydd yn newydd,

oherwydd fod yr hen orchymyn mewn ffurf newydd ac arbenig, ac wedi derbyn anrhydedd a newydd-deb trwy ufudd-dod ac esiampl y Deddfroddwr ei hun. Y mae safon y gorchymyn wedi ei godi i Grist ei hun. "Câr dy gymydog fel ti dy hun" oedd yr hen orchymyn. "Fel y cerais i chwi" ydyw y gorchymyn newydd. Y mae ei gariad ef atom ni yn gynllun cyflawniad y gorchymyn tuagat ein gilydd. Y mae y byd i'ch adnabod fel dysgyblion i mi wrth eich cariad tuagat eich gilydd. "Wrth hyn y gwybydd pawb mai dysgyblion i mi ydych, os bydd genych gariad i'ch gilydd." Yr arwydd allanol trwy ba un y mae y byd i adnabod gwir ganlynwyr yr Oen ydyw eu cariad at eu gilydd. "Arglwydd," gofynodd Petr gyda'i sydynrwydd arferol, "i ba le yr wyt ti yn myned?" "Ni elli di yr awrhon fy nghanlyn; eithr ar ol hyn y'm canlyni." Y mae gwasgaru i dd'od arnom, ond ni fydd y gwasgariad yn hir: mi a ymwelaf â chwi drachefn, a chewch dd'od ataf. Tybia Petr y gallai roddi ei einioes dros ei Arglwydd, pe byddai i bawb ei adael. Gofynodd yr Iesu iddo gyda dwysder, "A roddi di dy einioes drosof fi? Yn wir, yn wir meddaf i ti, ni chân y ceiliog nes i ti fy ngwadu deirgwaith." Codai penderfyniadau Petr yr adeg hon yn ormodol o'i hunanddibyniad a'i anwybodaeth ohono ei hun, a chariodd ei benderfyniad hunanddibynol y dysgyblion gydag ef. Y mae dynion yn dibynu yn ormodol ar eu hadnoddau eu hunain yn y perygl o fyned ymaith gyda llifeiriant amgylchiadau gwrthwynebol.

Gofynodd yr Iesu iddynt, A fu arnoch eisieu dim pan y'ch anfonais heb na phwrs, na chod, nac esgidiau? Yr ateb yw, "Naddo ddim." Dywed y byddai galwad arnynt i sefyll yn wrol yn ngwyneb yr ymosodiadau oedd i'w cyfarfod trwy gario a chyhoeddi y genadwri am dano ef yn Geidwad i'r colledig.

# PENOD XXI.

*Yr Iesu yn ordeinio sacrament swper yr Arglwydd—Yn cysuro ei ddysgyblion—Addewid am yr Ysbryd Glan—Y wir winwydden a'r canghenau—Ei ymadawiad yn fuddiol fel y deuai yr Ysbryd Glan i dystiolaethu am dano ef—Yn rhagfynegi am yr erledigaethau a'r rhwystrau—Y weddi gyfryngol—Yr Iesu a'i ddysgyblion yn gadael yr oruwchystafell i fyned i Gethsemane—Ei ing a'i ymdrech mewn gweddi yn yr ardd.*

## SEFYDLU SACRAMENT SWPER YR ARGLWYDD.

WELE y Pasg diweddaf wedi dod, yr hwn oedd yn arwyddo gwaredigaeth a chynhaliaeth, a'r hwn hefyd oedd yn gysgod o Grist, ein Pasg ni. Yr oedd y Pasg wedi bod yn fendith fawr i genedl Israel trwy eu casglu yn nghyd i addoli Duw, yn yr olwg ar ei ddaioni a'i waredigaethau iddynt. Yr oedd y Pasg hefyd yn gysgod o Grist a'i aberth, a'i waredigaethau, a'i gynhaliaeth. Gan fod y Pasg yn terfynu yn marwolaeth Crist, buddiol a manteisiol fuasai cael rhywbeth cyffelyb i arwyddo gwaredigaeth fwy a daioni mwy. Sefydlodd ein Gwaredwr, y nos y bradychwyd ef, ordinhad Swper yr Arglwydd, er mwyn gwneyd coffa am ei farwolaeth. Arwydda y bara a'r gwin gorph a gwaed Crist, ac y maent yn arwyddion y cyfamod newydd. Dywed am y bara, "Cymerwch, bwytewch, hwn yw fy nghorph, yr hwn a dorir trosoch." Trwy hyn yr oedd ei farwolaeth i gael ei ddangos trwy yr oesoedd hyd ddiwedd y byd, a hyny trwy ufudd-dod ei bobl i'w orchymyn ef.

"Gwnewch hyn er coffa am danaf," meddai wrthynt. Fel yr oedd gwaed yr oen yn arwydd gwaredigaeth rhag cael eu dinystrio gan yr angel dinystriol, felly y mae y bara a'r gwin yn arwyddo corph a gwaed Crist, trwy ba rai y mae i ni gael ein gwaredu rhag digofaint Duw am ein pechodau, a meddianu bywyd tragywyddol. Trwy wneyd ei orchymyn yr ydym yn gwneyd llw o ffyddlondeb ac yn gwystlo ein hunain i fod yn ffyddlawn i'n Brenin, gyda datgan ein ffydd yn rhinwedd ei farwolaeth ef. Y mae yr elfenau yn yr ordinhad yn parhau heb gyfnewid o ran eu natur. Y mae y bara wedi ei dori yn dangos ei gorph wedi ei ddryllio; y mae y gwin yn y cwpan, a thywalltiad y gwin, yn dangos ei waed, a'i dywalltiad er maddeuant pechodau i laweroedd.

Pan yr oedd Jerusalem a'r wlad o amgylch yn llawn o bobl, a'r rhai hyny ar nos y Pasg yn fywiog a llawen, tristwch a lanwai galonau y gymdeithas bur a da yn yr oruwchystafell. Yr oedd un ohonynt wedi troi yn fradychwr, ac wedi myned allan i gario allan ei fwriadau bradwrus. Ni feddyliodd y dysgyblion y buasai un ohonynt hwy yn troi mor siomedig. Yr oedd mynegiadau yr Iesu am ei ymadawiad yn gwywo eu disgwyliadau bydol. Dechreuent ofni erbyn hyn y buasai y storm oedd ar ddisgyn arnynt yn eu llwyr wasgaru.

Dywed yr Iesu wrthynt yn eu tristwch, "Na thralloder eich calon, yr ydych yn credu yn Nuw, credwch ynof finau hefyd." Yn ei ymddiddan pellach â hwy, cyn cychwyn tua'r ardd, mynega iddynt wirioneddau dyfnion, cryfion, a chysurus am ei berthynas â'r Tad, a pherthynas y Tad â'r Mab, a'r Ysbryd Glân â'r eglwys, a pherthynas yr eglwys â'r byd. "Yn nhŷ fy Nhad," meddai, "y mae llawer o drigfanau, a phe amgen mi a ddywedaswn i chwi." Pan y bydd y byd yn eich gwrthod y mae yno groesaw a derbyniad, a digon o le i chwi yn nhŷ fy Nhad. "Yr wyf fi yn myned i barotoi

lle i chwi." Dymunai iddynt gredu, os oedd efe yn dlawd ac heb gartref yn y byd, ei fod ef yn myned i wneyd cartref dedwydd, tawel, llawn, diogel, a thragywyddol iddynt hwy. Yr wyf fi yn myned i feddianu hawl a modd i'ch gwneyd chwi yn gymhwys, a gwneyd lle i chwi yn nhŷ fy Nhad. Ychydig a wyddom ac a fynegwyd i ni am ogoniant y nefoedd. Y mae geiriau yr Iesu yma yn fanteisiol i ni feddu syniad cywir am ei gogoniant. Enw dymunol a hyfryd i'r plant ydyw tŷ fy Nhad; a hyfryd ydyw yr amrywiaeth a'r cyflawnder a osodir allan trwy y gair "llawer o drigfanau;" ond yr hyn sydd fwyaf dealladwy i ni am ogoniant y nefoedd yma ydyw ei fod ef wedi myned yno i barotoi lle i'w bobl. Mae yn d'od i gyrchu ei bobl i'r lle a barotodd iddynt, pan y gwna hwynt yn gymhwys i'r lle. Cawn yn ngeiriau y Gwaredwr yma olwg ar y ddwy elfen yn nedwyddwch y saint—lle hyfryd a chymhwysder i'r lle.

Dymuna wneyd yn eglur iddynt ei fod yn ewyllysio iddynt gael cartrefu gydag ef ei hun. "Myfi," meddai wrth Thomas, "yw y ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd." Efe ydyw y ffordd at y Tad ac i'r nefoedd, ac nid oes neb yn myned at y Tad ond trwyddo ef; efe ydyw y gwirionedd; efe sydd yn hysbysu mynwes Duw; y mae efe yn hysbysu cariad tragywyddol y fynwes ddwyfol; ynddo y mae sylwedd y gwirionedd, ac efe ydyw y bywyd; efe ydyw ffynhonell y bywyd tragywyddol; y bywyd hwn sydd yn ei Fab ef.

Dywedodd Phylip wrtho, "Arglwydd, dangos i ni y Tad, a digon yw i ni." Mewn atebiad i Phylip dywedodd, "Y neb a'm gwelodd i a welodd y Tad." Tybiwn fod Phylip, wrth ei glywed yn mynegu am y Tad, yn disgwyl y buasai cael datguddiad o feddwl y Tad yn rhoddi gwybodaeth derfynol iddynt ar deyrnas ddaearol Crist. Credwch fy ngweithredoedd, meddai, y rhai sydd yn tystiolaethu fy mod i yn y Tad a'r Tad ynof

finau ; y Tad sydd yn gwneuthur y gweithredoedd ynof fi. Yr ydwyf fi yn ddelw o fy Nhad mewn modd dwyfol ac ysbrydol, fel y byddo i lygad ffydd fy ngweled, ac nid llygad meddwl daearol.

Trwy i chwi gredu ynof fi ac yn fy Nhad, byddwch yn abl i wneuthur gweithredoedd fel fy ngweithredoedd i, a mwy na'r rhai hyn a wna yr hwn sydd yn credu ynof fi : "oblegid yr wyf fi yn myned at fy Nhad." Trodd Petr fwy o bechaduriaid ar ddydd y Pentecost nag a wnaeth yr Iesu mewn blynyddoedd. Gofynwch yn fy enw. Yr ydwyf fi yn rhoddi fy enw i chwi i'w ddadleu gerbron fy Nhad. Bydd eich gweddïau yn fy enw at fy Nhad yn dderbyniol a llwyddianus : a pha beth bynag a ofynoch i'r Tad yn fy enw i, hyny a wnaf. Bydd fy Nhad yn cael ei ogoneddu trwy wrando eich gweddïau yn fy enw i : "fel y gogonedder y Tad yn y Mab."

Dywed mai ufudd-dod i'w orchymynion ef a brofa ac a gryfha eu cariad ato. Y mae pob peth yn annigonol i fynegu eich cariad ataf fi, ond ufudd-dod i'm gorchymynion. Ar dir ufudd-dod i'm gorchymynion y gellwch ddisgwyl derbyn yr Ysbryd Glân. Daw yr Ysbryd Glân atoch, a deuaf finau atoch. Chwi gewch fy ngweled mewn modd ysbrydol, "Canys byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." Rhoddaf i chwi ddigon o brofion fy mod yn fyw, a chewch fodd i obeithio cael byw ynof fi.

Gofynodd Judas (nid yr Iscariot), "Arglwydd, pa beth yw yr achos yr wyt ar fedr dy eglurhau dy hun i ni, ac nid i'r byd ?" Dywed nad oes gan y byd allu i weled am nad ydyw yn credu, ac mai y bobl sydd yn ei garu ef ac yn credu ynddo sydd yn gweled ac yn derbyn datguddiad ysbrydol. Y mae yr hwn sydd yn fy ngharu i yn mynegu ei gariad trwy gadw fy ngorchymynion. "Y mae fy Nhad yn eich caru chwi am i chwi fy ngharu i." Gallu mawr ydyw gallu cariad fy Nhad. Mae cariad fy

Nhad wedi fy rhoddi i, ei unig anedig Fab, fel y byddo i chwi, trwy gredu ynof, gaffael bywyd tragywyddol. Gall y bobl a gerir gan fy Nhad ddisgwyl llawer: "a ni a ddeuwn ato, ac a wnawn ein trigfa gydag ef." Y mae cariad ac ufudd-dod pechadur tuagat Anfonedig y Tad yn cynwys defnydd cartref i'r Personau Dwyfol: y corph a'r enaid mwyaf cyfoethog ydyw yr hwn sydd yn deml i Dduw—yn Dad, Mab, ac Ysbryd Glân.

Os nad ydych yn cofio ac yn deall fy ngeiriau yn ystod fy arhosiad gyda chwi, na ddigalonwch, daw y Diddanydd, yr Ysbryd Glân, i ddysgu i chwi yr holl bethau a ddywedais i chwi. Dywed ei fod yn gadael ei dangnefedd iddynt. Mae tangnefedd yr Iesu uwchlaw pob deall, ac yn fwy gwerthfawr na dim a fedd y byd: "Nid fel y mae y byd yn rhoddi yr wyf fi yn rhoddi i chwi." Rhydd efe i'w bobl y tangnefedd sydd ynddo ef ei hun: "Fy nhangnefedd yr ydwyf yn ei roddi i chwi." Llawenhau ddylech chwi am i mi ddywedyd, Yr wyf yn myned at fy Nhad; y mae esgyn o barthau isaf y ddaear at fy Nhad yn ddyrchafiad i mi, ac yn sicrhau eich dyrchafiad chwithau; canys y mae fy Nhad yn fwy na myfi yn fy stâd o ddarostyngiad.

Mae fy ymddiddan â chwi yn tynu tua'r terfyn: "canys tywysog y byd hwn sydd yn dyfod, ac nid oes iddo ddim ynof fi." Yr ydwyf yn gwneuthur gorchymyn y Tad fel y gwypo y byd fy mod yn ei garu ef. "Codwch, awn oddi yma." Dychymygwn weled yr oll ohonynt yn codi ar eu traed, ac yn barod i gychwyn yn ol ei orchymyn ef, a'r Iesu yn sefyll, fel yn methu terfynu ei ymddiddan a'i gyfarwyddiadau iddynt, yn myned yn mlaen, gan ddywedyd, "Myfi yw y wir wynwydden, a'm Tad yw y llafurwr."

Trwy alegori y winwydden a'r canghenau dysgir i ni undeb ysbrydol Crist â'i bobl, a'i berthynas â hwy fel ffynhonell eu holl fywyd ysbrydol, ac fel sail eu ffrwyth-

londeb. Dywed fod dau fath o ganghenau ynddo fel gwinwydden, sef canghenau diffrwyth a changhenau ffrwythlawn. Y mae y llafurwr yn tynu ymaith y canghenau diffrwyth, ac yn glanhau y rhai ffrwythlawn, fel y dygont fwy o ffrwyth. "Yr awrhon," meddai, "yr ydych chwi yn lân trwy y gair a leferais i wrthych." Nac ofnwch gael eich tynu ymaith; yr ydych chwi yn lân; y mae y llafurwr yn eich glanhau chwi am eich bod yn dwyn ffrwyth, fel y dygoch fwy o ffrwyth: ni bydd tynu ymaith yn eich hanes chwi. Canghenau diffrwyth y mae efe yn eu tynu ymaith; y mae fy Nhad yn gweled gwerth ynoch chwi fel ag i gymeryd trafferth i'ch glanhau, er mwyn cael mwy o ffrwyth oddiwrthych. Aroswch ynof fi; meithrinwch yn eich calonau eich undeb a'ch cymundeb â mi. Y mae eich ffrwythlondeb i darddu ohonof fi; mae gyda chwithau ran i ddal cymundeb priodol â mi, trwy ddibynu yn llwyr arnaf, "oblegid hebof fi ni ellwch chwi wneuthur dim." Y mae pob bywyd a gwaith ysbrydol a dwyfol i darddu o'ch undeb a'ch cymundeb â mi. Bydd eich arosiad ynof fi a'ch ufudd-dod i'm geiriau yn peri fod eich gweddïau yn cael eu gwrando, a manteisiol fydd gwrandawiad eich gweddïau i'ch cynydd ysbrydol.

### FFRWYTH Y CANGHENAU YN GOGONEDDU Y TAD.

Fel cymhelliad i chwi aros ynof fi, fel y byddo i chwi ddwyn ffrwyth, bydd eich ffrwyth yn gogoneddu fy Nhad, ac yn talu y draul a gymerodd efe yn eich iachawdwriaeth, fel y mae ffrwyth y winwydden yn ad-daliad am ei thrin. "Myfi yw y winwydden, chwithau yw y canghenau," ar ba rai y mae ffrwyth fy marwolaeth a'm llafur, a chariad a llafur fy Nhad a'r Ysbryd. Bydd eich ffrwyth a'ch cymeriad yn cael ei gadw yn goffadwriaeth i gariad a gras Duw, ac yn enw tragywyddol iddo, yr hwn ni thorir ymaith.

Dywed mai cariad ydyw yr undeb o ran ei natur: "Fel y carodd y Tad fi, felly y cerais inau chwithau: arhoswch yn fy nghariad i." Arhoswch yn fy nghariad i atoch chwi, fel ag i gynyrchu a chryfhau eich cariad chwithau yn ol ataf fi. Bydd eich llawenydd yn gyflawn trwy i chwi aros yn fy nghariad. Dangoswch eich cariad ataf trwy garu eich gilydd, fel y cerais i chwi. Chwi a fyddwch yn weision ac yn gyfeillion i mi os gwnewch pa bethau bynag a orchymynais i chwi. Na siomer chwi os casâ y byd chwi; y mae y byd, fel y gwyddoch, wedi fy nghasau i o'ch blaen chwi. Gwnewch gofio nad yw y gwas yn fwy na'i arglwydd.

### ADDEWID AM YR YSBRYD GLAN.

Na ddigalonwch ychwaith, fel pe dywedasai, oherwydd fod y byd yn fy ngwrthod i: mi a anfonaf yr Ysbryd Glân oddiwrth y Tad. Efe a dystiolaetha trwoch chwi; medr efe ddwyn dynion allan o'u noddfeydd eu hunain. Bydd yr Ysbryd Glân yn gymhorth digonol i chwi i dystiolaethu a dyweyd yn dda am danaf fi. Dywed: Yr oedd casineb dynion yn cael ei gyfeirio ataf fi pan gyda chwi, ond ymesyd arnoch chwi o'm hachos i o hyn allan.

Gwelai fod tristwch wedi llenwi calonau ei ddysgyblion erbyn hyn; os oeddynt yn cofio ei eiriau y rhai a lefarodd i'w cysuro, yr oedd ei ymadawiad a'i ragfynegiadau am y profedigaethau a brofent ar ol ei ymadawiad wedi eu taflu i ddwfn dristwch. Dangosai gydymdeimlad mawr tuagatynt, er eu tywyllwch. Gwell fuasai ganddo eu clywed yn gofyn cwestiynau fel arfer, er y gallent darddu o anwybodaeth, nac ymollwng fel hyn i ddistawrwydd tristwch. "Ac yn awr," meddai, "yr wyf fi yn myned at yr hwn a'm hanfonodd; ac nid yw neb ohonoch yn gofyn i mi, I ba le yr wyt ti yn myned?" Y mae cyfeillion pan yn ymadael yn dymuno gwybod

hanes eu gilydd ar ol eu hymadawiad. Y mae fy ymadawiad i wedi gwneyd eich calonau chwi yn rhy lawn o dristwch i ofyn, I ba le yr wyt ti yn myned. "Ond yr wyf fi yn dywedyd gwirionedd i chwi; Buddiol yw i chwi fy myned i ymaith: canys onid äf fi, ni ddaw y Diddanydd atoch:" mi a anfonaf yr Ysbryd Glân atoch. Gwell iddynt hwy oedd colli ei bresenoldeb corphorol fel yr enillent ei bresenoldeb ysbrydol. Byddaf fi gyda chwi mewn ystyr mwy sylweddol a chyffredinol pan ddêl y Diddanydd i'ch helpio chwi. Trwoch chwi efe a argyhoedda y byd o'i bechod mawr o'm gwrthod i trwy anghrediniaeth. Pechod mawr y byd oedd ac ydyw anghredu y dystiolaeth am ei Fab ef, Iesu Grist, a thrwy anghrediniaeth ei wrthod ef, yr hwn ydyw y rhodd benaf, a chynyg diweddaf Duw i fyd colledig.

### YR YSBRYD GLAN YN ARGYHOEDDI Y BYD.

Efe a argyhoedda y byd o bechod am nad ydynt yn credu ynof fi. Deuant i wylo a galaru trwy edrych ar yr hwn a wanasant. Efe a argyhoedda y byd o gyfiawnder fy nghymeriad a'm hachos yn dyoddef a marw ar bren y groes, i wneuthur ewyllys yr hwn a'm hanfonodd, er mwyn cael cyfiawnder i wisgo yr euog; a thrwy gyhoeddi fy adgyfodiad a'm dyrchafiad at fy Nhad caiff y byd weled uniondeb a sancteiddrwydd fy nghymeriad; a chânt weled mai Mab Duw ydwyf, ac Anfonedig y Tad i geisio a chadw y colledig, "am fy mod yn myned at fy Nhad." Efe hefyd a argyhoedda y byd o farn. Caiff y byd weled gwendid a drwg teyrnas y diafol, a'i fod ef a'i deyrnas wedi eu barnu a'u condemnio i ddinystr trwy fy mywyd a fy marwolaeth, a'm dyrchafiad at fy Nhad. "Efe," meddai, "a'ch tywys chwi i bob gwirionedd." "Efe a'm gogonedda i: canys efe a gymer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi." Dywed, "Chwi a wylwch ac a alerwch, a'r byd a lawenycha:

eithr chwi a fyddwch dristion;" ond ni phery eich tristwch yn hir, eithr eich trallod a'ch parotoa i lawenychu ar fy ymweliad drachefn â chwi: "ond eich tristwch a droir yn llawenydd:" "mi a ymwelaf â chwi drachefn." Dybenu mewn llawenydd tragywyddol y mae tristwch pobl yr Iesu, a diweddu mewn galar a gwae y mae llawenydd y byd. Bydd fy enw genych i ofyn i fy Nhad pa bethau bynag fydd yn angen arnoch. Y mae cael ei enw ef y fraint a'r fantais benaf i bechadur tlawd.

Lleferais wrthych trwy ddamegion er mwyn gwneyd fy addysg yn eglur i chwi; ond y mae y dydd gerllaw y mynegaf i chwi yn eglur am y Tad. Y mae y bobl sydd yn fy ngharu ac yn credu ynof yn derbyn ffafrau a gweniadau fy Nhad. Mae fy ngharu fi yn eich codi yn uchel yn ffafr fy Nhad. Tybient yn awr eu bod yn deall yn eglur. Byddwch yn cael eich gwasgaru gyda hyn, meddai, a'm gadael i yn unig. Ond ni byddaf unig—bydd fy Nhad gyda mi. Dywed, "Yn y byd gorthrymder a gewch. Eithr cymerwch gysur, myfi a orchfygais y byd." Cysur i'w bobl ef ydyw eu bod yn ymdrechu yn erbyn gelyn sydd wedi ei orchfygu gan eu Brenin.

### EI WEDDI YN YR ORUWCHYSTAFELL.

"Y pethau hyn a lefarodd yr Iesu, ac efe a gododd ei lygaid i'r nef, ac a ddywedodd, Y Tad, daeth yr awr; gogonedda dy Fab, fel y gogoneddo dy Fab dithau."—IOAN xvii. 1.

Gweinyddodd y weddi fawr hon lawer o gysur ac adnewyddiad o adeg ei hoffrymiad hyd yn awr. Calondid mawr i ofyn am fywyd tragywyddol ydyw fod rhoddi bywyd tragywyddol yn ei weddi ef. Llef ei bobl ydyw cael adnabod Duw. Yn y weddi hon y mae adnabod Duw yn golygu bywyd tragywyddol. Pan yn ofni cael ein gorchfygu gan ein gelynion a'n llygredd ein hunain, rhydd dymuniad ein Harglwydd yn y weddi nerth i obeithio. Dymuna ar ei Dad eu cadw rhag cael eu

dinystrio yn nghanol y drwg sydd yn y byd. Yr hyn sydd yn cadw yn fyw ynddynt y dymuniad i dd'od yn lân a sanctaidd ydyw ei fod ef yn gweddïo, "Sancteiddia hwynt yn dy wirionedd." Gweddïa efe am iddynt gael eu glanhau a'u sancteiddio yn gwbl oll. Ac ni ddigalonant i ofyn, "Deled dy deyrnas," oherwydd gweddïa efe am i bobl gredu ynddo trwy eu hymadrodd hwynt, a thros y rhai a gredant ynddo hyd y diwedd. Gallai ei bobl ddyweyd fel Petr, "Da i ni fod yma," pan y cânt fynud o olwg ar ei ogoniant; y mae cael golwg ar ei ogoniant mewn drych yn creu awydd ynddynt i gartrefu yn yr un babell a'r Iesu. A oes gobaith y cânt hwy gartrefu gydag ef i weled ei ogoniant? Oes, y mae pob sicrwydd y cânt gartrefu gyda'r Arglwydd, oherwydd hyn ydyw ewyllys ein Gwaredwr. Ewyllysia efe, yn y weddi fawr hon, i'w bobl fod gydag ef. "Y Tad," meddai yn nechreu y weddi, "daeth yr awr; gogonedda dy Fab, fel y gogoneddo dy Fab dithau. Mae y Mab wedi gogoneddu y Tad trwy ddatguddio ei gariad, ei gyfiawnder, sancteiddrwydd, gwirionedd, a thrugaredd, a thrwy fawrhau ei gyfraith, a'i gwneyd yn anrhydeddus yn ei ddarostyngiad a'i ddyrchafiad.

### YN CANU MAWL CYN GADAEL YR ORUWCHYSTAFELL.

"Ac wedi iddynt ganu mawl, hwy a aethant allan i fynydd yr Olewydd."—MARC xiv. 26.

Yn hwyr nos Iau, wedi i'r Iesu orphen ei ymddiddan diweddaf, ac offrymu ei weddi ymadawol, torasant ar ddistawrwydd a thrymder y nos trwy ganu mawl i Dduw. Os gwnaethant fel arferol, canasant o'r dechreu i'r diwedd y chwe' Salm, o ddechreu y drydedd Salm ar ddeg a thriugain hyd ddiwedd y ddeunawfed ar hugain wedi'r cant, y rhai a arferent eu canu ar y Pasg. Os oeddynt yn molianu yr Arglwydd yn y Pasg yn Israel gynt, y mae Crist ein Pasg ni yn ein gosod dan fwy o

rwymau i folianu yr Arglwydd. Y mae cariad Duw tuagatom ni wedi ei egluro trwy y prynedigaeth yn Nghrist Iesu i'n cymhell i offrymu aberth moliant yn wastadol i Dduw. Y mae testynau y prynedigaeth yn llenwi caniadau Seion ar y ddaear. Caniadau goreu y ddaear ydyw caniadau iddo ef, a'r un testynau sydd yn llenwi moliant y nef. Dylem ei folianu mewn tristwch. Yr oedd y dysgyblion yn ei folianu pan yn drist iawn. Yr oedd yr Iesu ar ei ffordd i dristau ac ymofidio.

YN MYNED O'R ORUWCHYSTAFELL I ARDD GETHSEMANE.

A hwy a aethant allan o'r ddinas trwy y porth dwyreiniol, oherwydd yr oedd pyrth y ddinas yn agored ar amser y Pasg. Golygfa oedd hon nas gellir ei desgrifio. Ni gawn, er hyny, ddyfalu a cheisio meddu syniad am dani i ni ein hunain. Gwnai y lleuad ei goreu i oleuo eu llwybr tua'r ardd, oherwydd yr oedd hi yn llawn. Gadawer i ni olrhain eu camrau i lawr, a thros afon Cedron, ac i fyny hyd nes y daethant i fan a elwid Gethsemane, lle yr oedd gardd. Gardd olewydd, neu gwasg olewydd, ydyw ystyr yr enw. Dywedir fod yno gafn wedi ei naddu o'r graig, yn yr hwn y sathrent yr olewydd er mwyn tynu yr olew ohonynt. Arwyddai yr olewydd dangnefedd, yn nganghenau pa rai y llechai yr adar mewn distawrwydd. Yr oedd twrf a swn y lluaws wedi myned heibio. Hoff ydoedd yr Iesu o unigedd a distawrwydd y mynydd, neu rhyw le unig arall. Cyrchai efe a'i ddysgyblion yn fynych i ardd Gethsemane, oherwydd yr oedd yn lle manteisiol allan o'r lluaws i ddysgu ei ddysgyblion yn ngwirioneddau ei deyrnas. Ond yn nhrymder a distawrwydd y nos, wele yr Iesu yn cyfeirio ei gamrau tua'r ardd i ddioddef, i ymdrechu mewn gweddi, ac i roddi ei hun i fyny i'w elynion. Yr oedd gwynebu amgylchiadau mawrion ei oes yn dechreu llenwi ei feddwl â phryder pan yn gadael yr oruwch-



[GARDD GETHSEMANE.]

ystafell ac yn cyfeirio tua'r ardd. Yn fynych pan yn cael ein galw i amgylchiadau neillduol y mae y pryder o flaen yr amgylchiad yn pwyso yn drymach ar y meddwl na'r amgylchiad ei hun. Yr oedd manylion dioddefiadau a marwolaeth ein Gwaredwr yn noeth ac yn agored o flaen ei feddwl. Yr oedd efe yn feddianol ar holl deimladau tyneraf dynoliaeth bur a sanctaidd. Gwyddai yr hwn yr oedd ei enaid yn wirionedd y dygid ef dan waradwydd y groes fel twyllwr y bobl. O'i flaen yr oedd marw trwy gam-gyhuddiadau ac mewn gwaradwydd, a sefyll, Efe y dihalog a'r sanctaidd, i gael ei brofi gan bryfaid llygredig. Dechreuai ei gyfrifoldeb i Dduw fel Meichnïydd y cyfamod tragywyddol bwyso ar ei feddwl ar ei ffordd i'r ardd, pan y cyfeiriai ei gamrau i gyfarfod gofynion deddf a chyfiawnder. Bendigedig fyddo ei enw yn dragywydd : ni throdd ei wyneb yn ol. A daethant i fan a elwid Gethsemane.

YMDRECH YR IESU YN YR ARDD.

Efe a'i ddysgyblion a aethant i fewn i'r ardd, i ymdrechu gyda Duw mewn gweddi, er mwyn cael ei nerthu i fyned trwy galedwaith ei oes. Dymuna yr enaid pan yn cael ei lethu gael ei adael ei hunan, a da ganddo gael cydymdeimlad dynol mewn cyfyngder. Dywedodd yr Iesu wrth ei ddysgyblion, wedi cyrhaedd yr ardd, "Eisteddwch yma tra yr elwyf a gweddïo acw." Buasai cymeryd yr un ar ddeg gydag ef yn gwneyd yn rhy gyhoeddus yr unigrwydd y gofynai ei enaid am dano. Cymerodd dri ohonynt, Petr, Iago, ac Ioan, gydag ef yn gwmpeini iddo yn ei ymdrech a thristwch ei enaid. Efe a'r tri dysgybl a aethant o gyrhaedd clyw i'r gweddill. Dymunai gael ei ddewisol ddysgyblion yn ei ymyl i gydymdeimlo âg ef, ac i fod yn dystion o'i weddïau a'i ymdrech yn yr ardd.

Dymunem fod yn wylaidd a gostyngedig, gan ddiosg

ein esgidiau oddiam ein traed—canys y tir hwn sydd ddaear sanctaidd—wrth geisio esgyn i edrych ar ein Gwaredwr, yn drist iawn ei enaid hyd angeu, yn yr ardd. Yna efe a ddechreuodd dristau ac ymofidio yn ddirfawr. Dywedodd wrthynt, "Trist iawn yw fy enaid hyd angeu: arhoswch yma, a gwyliwch gyda mi." Yr wyf yn teimlo, fel pe dywedasai, fod fy natur ddynol yn suddo dan y baich, a bywyd fel yn cilio, a marwolaeth fel yn d'od cyn ei amser. Gwnewch aros yn gwmpeini i mi. Yr oedd fel dyn mewn gwendid, yn ofni cael ei adael ei hunan. Yn yr ardd y mae efe yn ymdrechu yn erbyn teimladau a meddyliau ei enaid ei hun. Tynodd oddiwrth y tri dysgybl tuag ergyd careg, ac eto yr oeddynt yn ddigon agos i gydymdeimlo âg ef, ac i fod yn dystion. Ac wedi iddo fyned ychydig yn mlaen, gostyngodd ar ei liniau ar y ddaear, neu syrthiodd ar ei wyneb, yn ol un o'r efengylwyr, ac a ddywedodd, "Fy Nhad, os yw bosibl, aed y cwpan hwn heibio oddiwrthyf: eto nid fel yr ydwyf fi yn ewyllysio, ond fel yr ydwyt ti." Yr oedd ei natur ddynol, yr hon oedd yn feddianol ar deimladau a serchiadau tyneraf dynoliaeth berffaith, yn ofni marwolaeth; ond cryfach oedd ei ddymuniad i wneuthur ewyllys ei Dad. Y mae ein Gwaredwr yn gwybod trwy brofiad beth ydyw ofni marw, a chysur i'w bobl ef ydyw fod yr hwn a fu yn ofni marw wedi ei orchfygu, ac wedi derbyn i'w law ei hun agoriadau pyrth uffern a marwolaeth.

Wedi d'od at y dysgyblion cafodd hwy yn cysgu. Gofynodd, "Oni ellwch chwi wylied un awr gyda mi? Gwyliwch a gweddïwch fel nad eloch i brofedigaeth." Ychydig amser yn ol ymffrostiai Petr yn ei ffyddlondeb; ond ni allai wylied un awr gyda'i Arglwydd yn ei dristwch mawr. "Yr ysbryd yn ddiau," meddai yr Iesu, "sydd barod, eithr y cnawd sydd wan." Y mae yr ysbryd yn ddiau yn barod i ddangos cydymdeimlad â mi, ond y

mae y cnawd yn wan. Y mae ofni yn perthyn i'r cnawd, i'r natur ddynol; gwyliwch a gweddïwch rhag cael eich gorchfygu gan y cnawd. Gadawodd y tri dysgybl yr ail waith, a gweddïodd ar ei Dad, gan ddywedyd yr un ymadrodd. Ac wedi dychwelyd cafodd hwynt drachefn yn cysgu. Ni ddywedir iddo ddyweyd gair wrthynt yr ail waith. Ac efe a aeth drachefn ac a weddïodd y drydedd waith, gan ddywedyd yr un geiriau, a chafodd ei wrando yn yr hyn a ofnodd. Y mae ei hanes yn yr ardd yn mynegu tristwch ei enaid a'i ymdrech meddwl mewn gweddi. Trwy lefain cryf a dagrau yr offrymodd efe weddïau ac erfyniau at ei Dad.

BUDDUGOLIAETH YR ARDD.

"Ac angel o'r nef a ymddangosodd iddo, yn ei nerthu ef." Dywedai un o'i ddysgyblion mai un o'r pethau cyntaf a wnai efe wedi myned i'r nefoedd fyddai ceisio cael gafael ar yr angel caredig a nerthodd ei Arglwydd yn yr ardd, a diolch iddo am ei gymwynasgarwch iddo yn ei gyfyngder. Ni wyddom pa fodd y darfu yr angel ei nerthu. Gallem feddwl iddo nerthu y natur ddynol yn yr ymdrech. Ar ol i'r angel weini arno dywed yr hanes, "Ac efe mewn ymdrech meddwl a weddïodd yn ddyfalach, a'i chwys ef oedd fel defnynau gwaed yn disgyn i'r ddaear."

Terfynodd ei ymdrech yn yr ardd mewn perffaith fuddugoliaeth. Tra yr oedd y dysgyblion wedi treulio yr oriau i ymbarotoi mewn cysgadrwydd, yr oedd ein Hiachawdwr wedi gwneyd parotoad effeithiol mewn gweddi ar ei Dad i wynebu y frwydr gyfagos. Yr oedd ei gariad at ei Dad yn ei nerthu i ymostwng ac ymhyfrydu mewn gwneuthur ei ewyllys ef. Rhoddodd ysbryd mabwysiad ynddo fodd i ddyweyd, Da genyf gymeryd y cwpan, pa mor chwerw bynag, o law fy Nhad. "Y cwpan a roddes y Tad i mi, onid yfaf ef?" Y mae efe

yn gallu fforddio dyweyd wrth ei ddysgyblion, "Cysgwch bellach a gorphwyswch ; wele, y mae yr awr wedi nesau, a Mab y dyn a draddodir i ddwylaw pechaduriaid." Yr oedd ei gyfeillion yn cysgu, a dywed wrthynt, Cysgwch bellach a gorphwyswch ; gallaf fi wneyd heb eich cynorthwy. Os oedd fy ing a'm tristwch yn yr ardd yn methu eich cadw yn effro, wele amgylchiad sydd yn debyg o'ch deffroi : "Yn awr y traddodir Mab y dyn i ddwylaw y cenhedloedd."



["LLE'R WYLOFAIN."]

# PENOD XXII.

---

*Yr Iesu yn myned allan i gyfarfod Judas a'r fyddin—Yn rhoddi ei hun i fyny i gael ei rwymo—Yn gorchymyn iddynt adael i'w ddysgyblion fyned ymaith—Yn gorchymyn i Petr ddodi ei gleddyf yn y wain—Yn adferu clust Malchus—Yn cael ei adael heb neb i'w gynorthwyo—Yr Iesu gerbron Annas a Chaiaphas, y Sanhedrim, Pilat, Herod, a Philat drachefn—Petr yn gwadu ei Arglwydd yn llys yr archoffeiriad—Edrychiad yr Iesu yn peri iddo edifarhau—Y Sanhedrim yn dwyn yr Iesu at Pilat boreu dydd Gwener—Pilat yn methu cael dim bai ynddo—Yr Iesu gerbron Herod.*

---

"Cyfodwch, awn; wele, y mae yr hwn sydd yn fy mradychu yn agos."—MARC xiv. 42.

DYCHYMYGWN ei fod yn clywed swn traed ei elynion yn tori ar ddistawrwydd y nos, a'i fod yn gweled goleuni eu lampau a'u lanternau yn nesau tuag yno. Y maent yn d'od, meddai, cyfodwch, awn. Yr oedd ef yn barod i fyned i'w cyfarfod. Cyfododd ef a'i ddysgyblion, a chychwynasant allan o'r ardd i gyfarfod Judas a'i fyddin, gyda'u lanternau, a'u lampau, a'u harfau. Adwaenai Judas y lle, a gwyddai y byddai yr Iesu a'i ddysgyblion yn cyrchu yno yn fynych. Pwy bynag o'r dysgyblion oedd yn cysgu, yr oedd Judas yn effro. Ceisiodd a llwyddodd i gael gan yr archoffeiriaid a'r Phariseaid fyddin o swyddogion i ddal yr Iesu. Y mae yn dra thebyg i amryw o'r penaethiaid gynyg eu hunain i fyned gyda'r dyrfa dan arweiniad Judas.

Yr Iesu a aeth allan, ac a ddywedodd wrthynt, "Pwy yr ydych yn ei geisio? Hwy a atebasant iddo, Iesu o Nazareth. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Myfi yw." Gwelsant ei fawredd gyda'r "Myfi yw" cyntaf. Rhoddodd ei hun i fyny gyda gwedd frenhinol. "A hwy," medd yr hanes, "a aethant yn wysg eu cefnau, ac a syrthiasant i lawr." Gofynodd iddynt drachefn, "Pwy yr ydych yn ei geisio?" "Iesu o Nazareth," atebasant drachefn. "Mi a ddywedais i chwi," meddai, "mai myfi yw; am hyny, os myfi yr ydych yn ei geisio, gadewch i'r rhai hyn fyned ymaith." "Cymerwch fi yn ei lle," meddai yr emynydd. Dangosodd ofal am ei ddysgyblion pan yn rhoddi ei hun i fyny i'w elynion. Yn y fath dyrfa gymysglyd a chreulawn, dan arweiniad arch-fradychwr y byd, gallai fod yn meddyliau rhai ohonynt ddirmygu a dal, nid yn unig yr Iesu, ond ei ddysgyblion hefyd. Rhyw ddyrnaid o bobl fel hyn yn cynhyrfu y wlad: y mae digon ohonom heddyw; oni fyddai yn well i ni eu dal nhw i gyd? gofynai rhai ohonynt, y mae yn bosibl. Ond i ddiogelu ei bobl rhag dialedd ei elynion, dywedodd, "Gadewch i'r rhai hyn fyned ymaith." Feallai mai i gwtogi eu hawdurdod i beidio cyffwrdd â'i bobl y dangosodd belydryn o'i fawredd. Ni feiddiodd neb o'r dyrfa greulawn osod ei law ar un o'i ddysgyblion adeg ei brawf. Cysgododd hwynt â'i law ei hun. Yr oedd ymddygiad hunanfeddianol yr Iesu yn rhoddi ei hun i fyny, a'i orchymyn i adael i'w ddysgyblion fyned ymaith, wedi gosod gradd o'i arswyd arnynt. Dywedasai Judas wrth y fyddin y buasai ef yn cymeryd y cam cyntaf tuagat ei ddal ef trwy yr arferiad gyffredin o gyfeillgarwch.

Dacw Judas yn nesau at yr Iesu fel cyfaill adnabyddus iddo, a dywedodd, "Henffych well, Athraw," ac a'i cusanodd ef. Gofynodd yr Iesu iddo, "Ai â chusan yr wyt ti yn bradychu Mab y dyn?" Ni allai oddef y fath

ffalsedd a rhagrith heb ei ddynoethi. Tu cefn i gusan Judas yr oedd holl gynlluniau teyrnas y tywyllwch, ac ynddo yr oedd crynodeb o ddyfeisiau a dichellion pyrth uffern a marwolaeth. "Yna y daethant ac y rhoisant ddwylaw ar yr Iesu, ac a'i daliasant ef, ac a'i rhwymasant ef."

### YN GORCHYMYN Y CLEDDYF I'W WAIN.

Wele yr hwn sydd yn taenu y nefoedd fel llen, yn rhwymo y dyfroedd yn y cymylau, a'r hwn na wnaethai gam erioed, wedi cymeryd ei ddal a'i rwymo. Gofynodd ei ddysgyblion iddo, "Arglwydd, a darawn ni â chleddyf?" A chyn iddynt gael atebiad tynodd Petr ei gleddyf allan mewn modd tra sydyn, "ac a darawodd wâs yr archoffeiriad, yr hwn a elwid Malchus, ac a dorodd ymaith ei glust ddehau ef." Gorchymynodd yr Iesu i Petr ddodi ei gleddyf yn y wain. "Y cwpan a roddes y Tad i mi," meddai, "onid yfaf ef?" Os äi di yn mlaen yn yr ysbryd yna, Petr, trwy ddefnyddio cleddyf, ti gei dy ddifetha â chleddyf. Y mae yma ddigon o dy gwmpas heno, ond iddynt gael ganiatad, yn barod i daro; cadw y cleddyf o'r golwg—dod dy gleddyf yn y wain. Yr ydwyf fi yn myned i yfed y cwpan yn dy le di. "Goddefwch hyd yn hyn." Peidiwch aflonyddu ar fy mynediad i ddioddef. Wrth y dysgyblion y llefarodd ef y geiriau hyn. Diau y teimlai y fyddin eu heffaith hefyd. Dywedai mewn effaith wrth y milwyr, Esgusodwch y weithred fyrbwyll hon; na thynwch y cleddyf allan i daro fy nysgyblion gweiniaid; "ac efe a gyffyrddodd â'i glust, ac a'i hiachaodd ef."

### O'R ARDD I DY CAIAPHAS.

Ar y ffordd o'r ardd i Jerusalem, dywedodd yr Iesu wrth y torfeydd, "Ai fel at leidr y daethoch chwi allan, â chleddyfau ac â ffyn?" Ystyrient ddal y fath un yn

orchwyl rhy fawr i bobl gyffredin ac iselraddol. Yr oedd yr archoffeiriaid a'r blaenoriaid a'r penaethiaid wedi myned gyda Judas a'r fyddin i ddal yr Iesu, neu wedi myned i'w cyfarfod ar eu dychweliad. "Yr oeddwn i beunydd gyda chwi," meddai, "yn dysgu yn y deml, ac ni'm daliasoch ; eithr hon yw eich awr chwi a gallu y tywyllwch." Y mae tywyllwch y nos yn fanteisiol i chwi fel gorchudd ar eich gweithredoedd. Fel y mae adar a chreaduriaid ysglyfaethus yn d'od allan i ysglyfaethu yn y tywyllwch, y mae gallu y diafol yn anfon ei fyddinoedd allan i wneyd llawer o weithredoedd drwg yn y tywyllwch.

Nid oedd yr amgylchiad hwn yn ddieithr i'n Gwaredwr. Edrychai ar yr awr hono yn gyflawniad o brophwydoliaeth. Cysur a chynhaliaeth iddo wedi ei ddal a'i rwymo oedd bod hyn yn rhan o ewyllys ei Dad, ac yn rhan o'i weddi ef ei hun at ei Dad. "Yna," medd yr hanes, "yr holl ddysgyblion a'i gadawsant ef, ac a ffoisant." Wele y cyfaill ffyddlawn a chywir wedi cael ei adael gan ei gyfeillion, ac wedi ei ddal a'i rwymo gan ei elynion. Dywed, "Sethrais y gwinwryf fy hunan, ac o'r bobl nid oedd neb gyda mi." Y mae efe yn meddu profiad ynddo ei hun o'r trallod o golli ei gyfeillion yn ei waradwydd a'i ddioddefiadau. "A rhyw wr ieuanc oedd yn ei ddilyn," medd yr hanes, "wedi ymwisgo â llian main." Pwy oedd hwn nis gellir gwybod. Tybia rhai mai perchenog gardd Gethsemane ydoedd, a'i fod yn preswylio yn nghymydogaeth yr ardd. Ereill a dybiant mai Marc oedd efe, am mai efe yn unig sydd yn cofnodi yr amgylchiad, a'i fod yn byw yn agos. Ereill a dybiant mai Lazarus oedd efe. Pwy bynag ydoedd, gallem gasglu ei fod yn bryderus beth a ddaethai o'r Gwaredwr. Diangodd o'u cyrhaedd pan y ceisiasant gael gafael arno.

### YR IESU YN CAEL EI BROFI.

Edrychwn ar ein Gwaredwr wedi rhoddi ei hun i fyny yn hollol i ddwylaw ei elynion, ac yn cael ei arwain dros afon Cedron, i fyny i'r ddinas, ac i dŷ yr archoffeiriad.

Profwyd ef yn y llys eglwysig a gwladol dan lywodraeth Rhufain. Profwyd ef deirgwaith yn y llys eglwysig a theirgwaith yn y llys gwladol. Galwyd ef yn gyntaf o flaen Annas, ac yna o flaen Caiaphas, yr hwn oedd archoffeiriad y flwyddyn hono, a'r hwn hefyd oedd yn fab-yn-nghyfraith i Annas. Galwyd ef y waith olaf yn y prawf eglwysig o flaen cynghor cyflawn o'r Sanhedrim yn y boreu, i gadarnhau dedfryd Caiaphas ac ereill. Yn y llys gwladol profwyd ef o flaen Pilat, y rhaglaw, o flaen Herod, ac yn olaf o flaen Pilat.

Dywed y beirniaid yn gyffredin fod tŷ Annas a Chaiaphas yn nglyn â'u gilydd, ac yn gwneyd i fyny yegwâr, a bod mynedfa o'r naill i'r llall. Fel rhan o'r ysgwâr dywedant fod neuadd yno at wasanaeth y Sanhedrim. Gwnai Caiaphas, fel y tybir, yn ol cyfarwyddyd Annas, ei dad-yn-nghyfraith, ond Caiaphas oedd archoffeiriad y flwyddyn hono. Ac yr oedd efe wedi prophwydo am farwolaeth Crist: "A Chaiaphas oedd yr hwn a gynghorasai yr Iuddewon mai buddiol oedd farw un dyn dros y bobl." Er ei fod yntau fel Annas yn Saducead caled a rhagrithiol, efe a brophwydodd am farwolaeth Crist. Trwy ei swydd fel archoffeiriad yr oedd efe yn gallu prophwydo, a dyweyd mai buddiol oedd i un dyn farw dros y genedl.

### O FLAEN ANNAS.

Yn ol y trefniad uchod ar brawf y Gwaredwr safodd yn gyntaf o flaen Annas. Gofynodd iddo am ei ddysgyblion, ac am ei athrawiaeth. Ni ddywedodd yr Iesu air am ei ddysgyblion. Dywed iddo lefaru yn eglur pan

yn athrawiaethu yn y synagog ac yn y deml. Gofyn i'r rhai a'm clywsant, meddai; paham yr wyt ti yn gofyn i mi? Ac wedi iddo ddywedyd hyn, un o wenieithwyr yr archoffeiriad a roddes gernod i'r Iesu. "Ai felly," gofynodd, "yr wyt ti yn ateb yr archoffeiriad?" Derbyniodd lawer o ddiystyrwch cyn hyn, ond hon oedd y gernod gyntaf a dderbyniodd ar ei ruddiau sanctaidd. Dacw y wyneb y mae yr angelion, medd un, yn syllu arno mewn syndod, fel y mae plant bychain yn syllu ar belydrau disglaer yr haul, yn cael ei daro gan gaethwas dirmygedig. Derbyniodd yr anmharch mewn tangnefedd urddasol. "Os drwg y dywedais, tystiolaetha o'r drwg; ac os da, paham yr wyt yn fy nharo i?" Digon tebyg i'r gelyn lawenychu oherwydd iddo lwyddo am y waith gyntaf i gael un o dan yr enw dyn yn ddigon israddol i roddi cernod i'r hwn a ddaeth i gadw dyn colledig. Gyda bwriad a phenderfyniad i'w gondemnio, anfonodd Annas yr Iesu yn rhwym drosodd i dŷ Caiaphas.

### O FLAEN CAIAPHAS.

Yr ail ran o brawf ein Harglwydd ydyw o flaen Caiaphas, yr archoffeiriad awdurdodedig. Ceisient gau dystion yn ei erbyn er mwyn ei roddi i farwolaeth, ac nis cawsant, oherwydd yr oedd y gau dystion yn tystiolaethu yn erbyn eu gilydd, a hyny yn gyfystyr â dim tystiolaeth. O'r diwedd daeth dau gau dyst, ac a ddywedasant, "Hwn a ddywedodd, Mi a ddinystriaf y deml hon o waith dwylaw, ac mewn tridiau yr adeiladaf arall heb fod o waith llaw;" ac eto nid oedd eu tystiolaeth hwy felly yn gyson. Dinystriwch y deml hon oedd ei air ef, gan gyfeirio at eu gwaith hwy yn dinystrio ei gorph ef; ac mewn tridiau y cyfodaf hi. Fel y mae gau-dystion yn gyffredin, ceisient wisgo eu tystiolaeth â rhith o wirionedd; ond nid oedd hyny ond tynu

ymaith y gwirionedd o eiriau yr Iesu, a'u gwneyd yn gau dystiolaeth yn ei erbyn.

Gofynodd yr archoffeiriaid iddo, "Oni atebi di ddim? beth y mae y rhai hyn yn ei dystiolaethu yn dy erbyn? Ond yr Iesu a dawodd." Safai yr Iesu uwchlaw ei farnwyr mewn tawelwch a distawrwydd. Llefarai ei ddistawrwydd fwy na phe buasai holl hyawdledd tafodau dynion ac angelion yn dadleu ei achos. Gwelai Caiaphas fod yr achos yn erbyn yr Iesu yn tori i lawr ger ei fron, a gwelai fod yr Iesu, yr hwn oedd garcharor, yn sefyll uwchlaw pawb mewn distawrwydd a hunanfeddiant grasol. Gofynodd Caiaphas yn yr iaith Aramaeg, oherwydd hon ydoedd iaith llysoedd yr Iuddewon, "Yr ydwyf yn dy dynghedu di trwy y Duw byw, ddywedyd ohonot i ni, ai tydi yw y Crist, Mab Duw." Yr oedd hwn yn gwestiwn mewn cysylltiad â gwirionedd mawr amser a thragywyddoldeb; a chwestiwn hynod iawn oddiwrth archoffeiriad ydoedd hwn i'w ofyn i garcharor neu droseddwr yn ei rwymau. "Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ti a ddywedaist." Myfi yw; yr wyt ti o'r diwedd wedi gofyn cwestiwn y mae fy nghariad at wirionedd yn fy nghymell i roddi atebiad iddo, Myfi yw Crist, Mab y Duw byw. "Ar ol hyn y gwelwch Fab y dyn yn eistedd ar ddeheulaw y gallu, ac yn dyfod ar gymylau y nef." Y dydd hwnw bydd fy ngwedd a'm sefyllfa yn fwy gogoneddus nag ydynt heddyw, ond yr un fyddaf fi yno.

Dacw yr archoffeiriad yn rhwygo ei ddillad, gan ddywedyd, "Efe a gablodd: pa raid i ni mwy wrth dystion? wele, yr awrhon y clywsoch ei gabledd ef." Dywed y cynghor ei fod ef yn euog o farwolaeth. Y dystiolaeth a barai i'r cynghor gydolygu ei fod yn euog o farwolaeth oedd ei fod yn hawlio teitl Crist, Messiah, Mab Duw. Er yr holl dystiolaethau a roddodd yn ei fywyd ei fod yn wir Fab Duw, penderfynodd y cynghor

llygredig hwn ei fod yn cablu, ac yn euog o farwolaeth am iddo ateb eu cwestiwn yn onest a chywir, gan ddywedyd, "Myfi yw." Ac fel y cyfryw penderfynasant ei gyflwyno i Pilat, y rhaglaw, fel un yn peryglu heddwch a buddianau yr ymherodraeth.

Yr oeddynt erbyn hyn wedi cael eu dymuniad. Yr oedd dedfryd marwolaeth wedi ei phasio ar yr Iesu gan Caiaphas a'r rhai oedd gydag ef. Yr oedd yn ofynol i'r ddedfryd gael ei chadarnhau gan gynghor helaethach o'r Sanhedrim pan y deuai yn nghyd. Ni chymerai hyny ond ychydig o fynudau. Bernir mai tua thri o'r gloch y boreu ydoedd hi y pryd hwn. Oni buasai am gyflawniad y brophwydoliaeth, dymunol fuasai taflu gorchudd dros yr olygfa yn nhŷ Caiaphas cyn toriad y wawr foreu ddydd Gwener. Ni chlywsom am un troseddwr yn derbyn y fath ddirmyg cyn ei gondemnio yn gyfreithiol ag a dderbyniodd ein Harglwydd Iesu Grist y boreu hwnw gan y rhai oedd o'i gwmpas. Diau fod aelodau o'r Sanhedrim yn barod i gymeryd rhan i waradwyddo yr hwn a gondemniodd eu rhagrith a'u llygredigaeth. Hwy a'i gwatwarasant ef, gan ei daro! Yr oedd rhai yn ei watwar trwy boeri arno, a chuddio ei wyneb a'i gernodio, gan ofyn iddo, er mwyn ei wawdio fel prophwyd, "Prophwyda i ni. O Grist, Pwy yw yr hwn a'th darawodd?" I foddloni yr archoffeiriaid ac ereill curodd y gweision ef â gwïail. Wele yr hyn a ddywedwyd yn y brophwydoliaeth yn cael ei gyflawni, "Fy nghorph a roddais i'r curwyr, a'm cernau i'r rhai a dynai y blew; ni chuddiais fy wyneb oddiwrth waradwydd a phoeredd." Dacw y dwylaw tyneraf a fu ar y ddaear, a'r dwylaw a estynai iachad a thrugaredd i bawb a'i ceisiant, wedi eu rhwymo; y genau fu'n llefaru yn y fath fodd fel na lefarodd dyn erioed yn cael eu taro gan y dirmygwyr hyn. Pe yr ewyllysiai gallasai fyned allan o'u canol hwynt, ond yr oedd efe wedi d'od i wneuthur ewyllys ei

Dad. Daliai ei gariad heb flino dan waradwydd a phoeredd.

PETR YN GWADU EI ARGLWYDD.

Dywedir fod yn nhŷ yr archoffeiriad gyntedd i weision y barnwyr eglwysig, ac i wenieithwyr y penaethiaid, a gwylwyr y deml i aros ac i fod wrth law i wasanaethu arnynt, ac i gefnogi yr archoffeiriaid ac ereill. Pan ddaliwyd yr Iesu gan Judas a'i fyddin, ac y dygwyd ef i dŷ Caiaphas, canlynodd Petr ac Ioan o hirbell. Diau y teimlai Petr yr edrychai ei Waredwr arno yn un rhyfedd iawn os na wnai efe ymdrech i'w ganlyn, wedi iddo lefaru geiriau mor gryfion. Gallodd Ioan, oherwydd ei fod ef a'r archoffeiriad yn gydnabyddus â'u gilydd, fyned i mewn gyda'r Iesu. Safodd Petr oddiallan i'r drws. Cauwyd drws y porth a arweiniai i'r llys wedi i'r Iesu fyned i mewn; ond trwy ddylanwad Ioan agorwyd i Petr hefyd i fyned i mewn i'r cyntedd, ac eisteddodd wrth y tân gyda'r gweision i weled y diwedd. Nid oes hanes i neb ddanod i Ioan ei fod yn ganlynwr yr Iesu, nac edrych yn amheus arno. Paham, nis gwyddom, os nad oedd ef yn dianc yn nghysgod ei gyfeillgarwch â'r archoffeiriad. Cododd amheuaeth yn y cyntedd am Petr. Edrychai ef yn bryderus yn ddiau, wrth feddwl am ei Arglwydd; a dichon yr ofnai y buasai yn cael ei alw i gyfrif am arfer ei gleddyf pan y daliwyd ei Arglwydd. Gyda sydynrwydd, medr, a sêl eithafol dros ei meistr, gofynodd morwyn yr archoffeiriad, yr hon oedd yn gwylio y drws, i Petr, "Onid wyt tithau o ddysgyblion y dyn hwn?" Atebodd Petr, "Nac wyf." Ac meddai yn mhellach, Nid adwaen i ef; ac ni wn beth yr wyt ti yn ei ddywedyd. Ac yna efe a aeth allan i'r porth mewn cyffro. Ceisiodd guddio ei gyffro trwy fyned i'r porth, yr hwn oedd yn dywyll, mae'n debyg. Ond daeth Petr i olwg y drysores drachefn, yr hon a

ddywedodd wrth y rhai oedd yn aros yn y cyntedd, Y mae hwn yn un ohonynt: yr oedd hwn hefyd gyda Iesu o Nazareth. A'r ail waith efe a wadodd trwy lw nad adwaenai efe ef. Cafodd Petr lonyddwch am ysbaid uń awr, feallai, ar ol gwadu trwy lw yr ail waith; ond yr oedd y forwyn yn dal i daenu amheuaeth am dano. Gofynodd un o weision yr archoffeiriad, yr hwn yntau, fel y drysores, oedd yn frwd dros ei feistr, ac hefyd yn gâr i Malchus, yr hwn y torasai Petr ei glust, "Oni welais i di gydag ef yn yr ardd?" Gwadodd Petr y drydedd waith. "Ac yn y man y canodd y ceiliog." "A'r ceiliog a ganodd yr ail waith," yn ol Marc. Yr oedd Petr, medd rhai, wedi mynegu hanes ei wadiad yn fanylach i Marc, yr hwn a elwir gan rai, "Deonglwr Petr." Dywedodd yr Iesu wrth Petr, yn ol Marc, "Cyn canu o'r ceiliog ddwy waith, ti a'm gwedi deirgwaith;" a dywed, wedi i Petr wadu ei Arglwydd y drydedd waith, "A'r ceiliog a ganodd yr ail waith." "A'r Arglwydd a drodd ac a edrychodd ar Petr." Er mor bell yr oedd Petr wedi encilio trwy ei wadu deirgwaith, nid aethai yn rhy bell i'r Iesu edrych arno. Darfu i ganiad y ceiliog adgoffa i Petr eiriau yr Iesu, a pharodd i'w edrychiad achosi iddo fyned allan ac wylo yn chwerwdost. Dywed un awdwr, "Os oedd angel diniweidrwydd wedi ei adael, y mae angel edifeirwch yn ymaflyd yn ei law. Y mae ysbryd y gras yn tywys yr edifeiriol o flaen brawdle ei gydwybod a hawliau cyfraith Duw; ac yno mae yr hen fywyd, yr hen gywilydd, yr hen wendid llygredig, yr hen hunanoldeb, yn cael eu dedfrydu i farwolaeth duwiol dristwch." Credwn i Petr wylo llawer o ddagrau edifeirwch am y pechod o wadu ei Arglwydd tra y bu byw. Dywed traddodiad yr arferai Petr godi bob boreu ar yr awr yr edrychodd ei Arglwydd arno, i ofyn maddeuant ganddo am ei wadu. Er nas gallwn ddibynu llawer ar draddodiadau, y mae yn

hawdd credu iddo edifarhau llawer, a gofyn llawer am faddeuant.

Yn y boreu, tua therfyn y bedwaredd wyliadwriaeth, dygasant yr Iesu gerbron y Sanhedrim, fel y byddai iddynt gadarnhau y ddedfryd marwolaeth a basiwyd arno o flaen Caiaphas ac ereill. Y mae yn dra thebyg eu bod yn gyflawn, os nad oedd Nicodemus a Joseph o Arimathea yn absenol. Dywed un mai hon ydoedd awr hunan-laddiad y genedl. Nid oedd angen dadleu ar y mater, oherwydd cydolygent i'w draddodi i Pilat.

### YR IESU O FLAEN PILAT.

"A dywedodd Pilat wrth yr archoffeiriaid a'r bobl, Nid wyf fi yn cael dim bai ar y dyn hwn."—LUC xxiii. 4.

Dygasant yr Iesu yn rhwym at Pilat, yr hwn oedd yn mhalas Herod, preswylfod swyddogol Pilat yn ystod ei arhosiad yn Jerusalem. Safai ei breswylfod, meddir, ar fynydd Seion. Gellid tybio i'r orymdaith ryfedd hon gyraedd preswylfod Pilat tua saith o'r gloch boreu Gwener. Wele olygfa na cheir ei chyffelyb yn oes y byd! Unig-anedig Fab Duw, anwylyd y Tad, ac hyfrydwch ei gariad erioed, yn cael ei arwain yn rhwym gan yr archoffeiriaid, ysgrifenyddion, Phariseaid, henuriaid, a phenaethiaid cenedl a chrefydd yr Iuddewon, i'w farnu a'i gondemnio gan raglaw anghyfiawn! Edrychai ar fywydau yr Iuddewon fel bywydau caethweision israddol. Gan ei fod ef yn eu cashau yn ei galon ni allesid disgwyl i'n Gwaredwr gael fawr o gydymdeimlad oddiwrth y fath un. Ac er ei fod yn cashau yr Iuddewon, ar yr un pryd, ofnai iddynt achwyn arno a'i ddrygu gydag awdurdodau uwch nag ef ei hun. Gallesid meddwl ei fod yn gogwyddo i amddiffyn yr Iesu, ond yn y diwedd gwrandawodd ar y bobl a grochlefent am ei groeshoelio. Nid o ran dim parch atynt, nac at eu syniadau, y gadawodd Pilat y llys ac yr aeth allan

atynt: gwnaeth hyn yn ddiau am nad oedd yn dewis ymdrechu i orthrechu mympwyon ac ofergoeledd pobl israddol yn ei olwg. Byddai y Rhufeiniaid yn arfer codi eu brawdleoedd yn yr awyr agored. Mae yn dra thebyg i Pilat orchymyn i'w sedd swyddogol gael ei gosod ar y Palmant, lle a elwid yn Hebraeg *Gabbatha*, yr hwn oedd uwchlaw y bobl ac o flaen y llys swyddogol.

Gofynodd Pilat i'r cyhuddwyr, "Pa achwyn yr ydych chwi yn ei ddwyn yn erbyn y dyn hwn? Hwy a atebasant ac a ddywedasant wrtho, Oni bai fod hwn yn ddrwgweithredwr, ni thraddodasem ni ef atat ti." Os oedd Herod Antipas wedi clywed am yr Iesu o Nazareth, ac yn awyddus am ei weled, y mae yn debyg fod Pilat hefyd, yr hwn oedd yn preswylio yn Cesarea, wedi clywed am dano, ac wedi clustfeinio gryn lawer yn ei gylch; a diamheu genym, wrth farnu yr Iesu, nad oedd Pilat wedi clywed iddo wneyd dim i aflonyddu ar heddwch y wlad, nac wedi troseddu yr un o gyfreithiau yr ymherodraeth. Mor bell ag yr oedd ef yn gweled, nid oedd yr Iesu ond dysgawdwr crefyddol, yr hyn oedd islaw sylw ganddo ef; a gwelai mai y rhai a honent eu hunain yn benaethiaid ac yn arweinwyr crefydd, y rhai a gasëid mor fawr ganddo, a gododd yr helynt hwn yn erbyn y Gwaredwr, am ei fod yn ddidderbyn-wyneb yn condemnio eu rhagrith a'u ffurfiau meirwon. "Am hyny y dywedodd Pilat wrthynt, Cymerwch chwi ef, a bernwch ef yn ol eich cyfraith chwi." Gwelaf, fel pe dywedasai, mai rhyngoch chwi y mae yr achos i'w benderfynu. Y mae gyda chwi gyfraith a llys eich hunain. Ewch âg ef i'w farnu i'r llys priodol. "Yna yr Iuddewon a ddywedasant wrtho, Nid cyfreithlawn i ni ladd neb." Awgryment, wrth son am ladd, eu bod hwy wedi barnu ei fod yn haeddu marwolaeth. A chan nad oes genym hawl i gario allan y ddedfryd, yr ydym wedi d'od yma atat ti i'w chario allan. Mwy dewisol

oedd ganddynt ei roddi i farwolaeth trwy y ffordd Rufeinig na thrwy y ffordd Iuddewig, oherwydd yr oedd mwy o waradwydd yn nglyn â marwolaeth trwy groeshoelio. Yr oeddynt yn gyru yn mlaen yn berffaith yn ol y *plan* a roddodd yr Iesu i'w ddysgyblion. A wyddent hwy eu bod yn gwneyd hyn yn ol y cynllun a roddodd efe i'w ddysgyblion? Na wyddent. O'u gelyniaeth a'u llid y cyflawnent ei brophwydoliaethau a'i ragfynegiadau i'w bobl. "Cynddaredd dyn," ebe y Salmydd, "a'th foliana di."

"Ni a gawsom hwn," dywedasant, "yn gwyrdroi y bobl, ac yn gwrthod rhoi teyrnged i Cesar, gan ddywedyd mai efe ei hun yw Crist Frenin." Gosodasant olwg wladol ar y cyhuddiad, gan ei ddiosg o'i gymeriad crefyddol mor llwyr ag y gallent. Cododd Pilat o'r gadair ac aeth i'r dadleudy, a galwodd yr Iesu ato, a gofynodd iddo, "Ai ti yw Brenin yr Iuddewon?" Dywedodd yr Iesu wrtho, "Ai ohonot dy hun yr wyt ti yn dywedyd hyn? ai ereill a'i dywedasant i ti am danaf fi?" Gofynodd yr Iesu y cwestiwn i Pilat i ddwyn allan yr ystyr a roddai i swydd Brenin yn y cwestiwn. "Ai Iuddew ydwyf fi?" gofynodd Pilat: teimlai ei fod wedi cael ei osod mewn sefyllfa anhyfryd. "Dy genedl dy hun a'r archoffeiriaid a'th draddodasant i mi." Fel y maent hwy yn gosod allan dy achos, nid ydwyf yn gallu eu deall. "Beth a wnaethost ti?" Os ydwyt yn edrych yn ddaearol neu fydol arnaf fel Brenin, fel y maent hwy yn disgwyl cael eu Messiah, i orchfygu yr holl fyd a theyrnasu mewn rhwysg yn y byd, yr wyf yn barod i fynegu i ti. Fy mrenhiniaeth i nid yw o'r byd hwn. Nid wyf yn Frenin yn yr ystyr yr ydwyt ti yn edrych arnaf fi; ond yr wyf yn Frenin: fy mrenhiniaeth i nid ydyw o ran ei tharddiad o'r byd hwn, ac nid ydyw o ran ei natur a'i hamcan o'r byd hwn. Digon o brawf i ti nad yw fy mrenhiniaeth i o'r byd hwn ydyw, nad yw

fy ngweision yn gwneyd dim ymdrech i'm hamddiffyn. Y mae genyf fi weision, ond nid oes yma neb ohonynt yn fy amddiffyn heddyw. Yna gofynodd Pilat iddo, "Ai Brenin wyt ti?" Yr oedd gwrando ar yr Iesu yn son am ei frenhiniaeth dair gwaith, a'i galw "fy mrenhiniaeth," a'i weision "fy ngweision," yn awgrymu i'w feddwl ei fod ef yn honi bod yn rhyw fath o frenin. Er mwyn gwybod yn fanylach a oedd ef yn frenin, gofynodd, "Wrth hyny ai Brenin wyt ti?" "Yr ydwyt ti yn dywedyd," atebodd yr Iesu, "mai Brenin wyf fi. Er mwyn hyn y'm ganed, ac er mwyn hyn y daethum i'r byd, fel y tystiolaethwn i'r gwirionedd." Daeth yr hwn oedd yn mynwes y Tad i hysbysu gwirionedd tragywyddol y fynwes ddwyfol yn ein natur ni. Tystiolaethu i'r gwirionedd a ddarlunia yma fel moddion trwy ba rai y sefydlodd ei deyrnas, ac y meddianodd ei frenhiniaeth fel Cyfryngwr rhwng Duw a dynion. Nid oedd neb ond efe yn abl i sefyll yn yr ymdrech hon. Yr oedd efe yn sefyll i hysbysu a gweithio allan fwriadau a sylweddau tragywyddol cariad y fynwes ddwyfol er gogoniant Duw ac iachawdwriaeth pechaduriaid colledig. Y mae deiliaid fy nheyrnas i hefyd, meddai, yn gwrando fy llais i, oherwydd eu bod o'r gwirionedd. "Pob un a'r sydd o'r gwirionedd, sydd yn gwrando fy lleferydd i." Er nad oedd Pilat yn deall beth oedd efe yn ei lefaru, na pha beth oedd gwirionedd, yr oedd ymddangosiad a geiriau yr Iesu wedi deffro ei feddwl i ofyn, "Beth yw gwirionedd?" Canfyddai Pilat ryw hynodrwydd yn y carcharor a safai ger ei fron. Ni welodd erioed garcharor fel hwn: yr oedd hwn yn barod i ddioddef er tystiolaethu dros y gwirionedd. Ni welai Pilat, beth bynag oedd yr Iesu, fod dim ynddo tebyg i deyrnfradwriaeth yn erbyn Rhufain. Ac yr oedd ymddygiad yr Iesu wedi cyffwrdd ychydig â theimlad y rhaglaw.

Efe a aeth allan drachefn at yr Iuddewon, gan ddwyn

yr Iesu gydag ef i'r frawdle, a dywedodd wrthynt, "Nid wyf fi yn cael dim achos ynddo ef." Yr oedd y gallu oedd ganddo trwy ymarferiad i adnabod dynion a chymeriadau yn peri iddo feddwl fod ein Gwaredwr yn berffaith ddiniwed, a'i fod yn anrhaethol well ac anrhydeddusach na'i gyhuddwyr ynfyd. Cynhyrfodd yr archoffeiriaid wrth wrando y rhaglaw yn cyhoeddi yr Iesu yn ddiniwed. "A hwy a'i cyhuddasant ef o lawer o bethau." Pa reswm, teimlent ynddynt eu hunain, wedi i ni fod trwy y nos yn ymdrin â'i achos, a'i gael ef yn haeddu marwolaeth, fod barnwr cenhedlig a phaganaidd yn dadwneyd ein gwaith, ac yn ceisio ei ryddhau trwy ei gyhoeddi yn ddiniwed mewn ychydig fynudau? Gofynodd Pilat iddo, "Oni chlywi di faint o bethau y maent hwy yn eu tystiolaethu yn dy erbyn di?" "Oni atebi di ddim?" "Ac nid atebodd efe iddo un gair, fel y rhyfeddodd y rhaglaw yn fawr." Yr oedd distawrwydd ein Gwaredwr yn ngwyneb cam-gyhuddiadau yr arch-offeiriaid yn peri iddo ryfeddu yn fawr. Dywedodd wrthynt drachefn, "Nid wyf fi yn cael dim bai yn y dyn hwn." A hwy a fuont daer arno, gan ddywedyd, Y mae efe yn cyffroi y bobl trwy y wlad. Dechreuodd yn Galilea, a daeth i fyny trwy wlad Judea i gyffroi y bobl, fel y mae y wlad wedi ei chyffroi yn erbyn y llywodraeth. Yr oedd y Messiah, yn ol eu syniad hwy, i waredu y genedl o dan iau Rhufain, ac yma o flaen Pilat, yn erbyn eu syniadau eu hunain am y Messiah, cyhuddent ef o gyffroi y wlad yn erbyn y llywodraeth!

### ANFON YR IESU AT HEROD.

Pe buasai Pilat yn farnwr cyfiawn buasai yn rhyddhau ac yn amddiffyn yr Iesu, wedi gweled nad oedd dim bai ynddo; ond yn lle gwneyd cyfiawnder gwrandawodd ar lefain y dyrfa anghyfiawn a rhagrithiol. Pan y clywodd ef hwy yn crybwyll am Galilea, tybiodd y gallai gael

gwaredigaeth o'i achos trwy ei anfon at Herod Antipas, yr hwn oedd wedi d'od i Jerusalem at ddyddiau y Pasg, ac a arhosai, meddir, yn y palas a berthynai i'r Asomoniaid. Dywedir yr arferai llywodraeth Rhufain anfon y carcharor i gael ei brofi o flaen brawdlys y wlad y magwyd ef. Cyfeiriodd yr orymdaith hynod i'r gogledd-ddwyrain, ar hyd heolydd culion, ac yn fuan cyrhaeddasant y palas lle yr arhosai Herod, "yr hwn pan welodd yr Iesu a lawenychodd yn fawr; canys yr oedd efe yn chwenychu er's talm ei weled ef." Deuai i Jerusalem ar adeg y Pasg er mwyn pleser a difyrwch. Darfu ymddangosiad yr Iesu ger ei fron ddeffro ei awydd am ddifyrwch wedi clywed cymaint am dano. Disgwyliai ei weled yn cyflawni gwyrth. Gofynodd i'r Iesu lawer o gwestiynau anmherthynasol ac ynfyd, ac er mwyn ceisio difyrwch gyrai yn mlaen i ofyn cwestiynau hyd nes yr aeth trwy y cwbl oedd ganddo, ac yna arhosodd am atebiad yr Iesu. Eithr nid atebodd ddim iddo: nid ymostyngai ein Gwaredwr i dori gair â'r hwn a ddisgwyliai iddo gyflawni gwyrth i'w ddifyru ac i enill ei ffafr ef. Os oedd llygredigaeth Herod wedi ei alluogi ef i anghofio y weithred ysgeler o ladd Ioan, prophwyd a chenad yr Arglwydd, yr oedd y weithred o flaen meddwl yr Iachawdwr; a phe buasem yn dyfalu beth allasai fod yn meddwl yr Iesu ar y pryd, buasem yn meddwl ei fod yn teimlo y dylasai Herod deimlo cywilydd edrych yn ngwyneb cyfaill Ioan. Ni wyddai mwy na Philat beth oedd i'w wneuthur i'r fath garcharor. Daeth i'r penderfyniad na chymerai ef ran mewn condemnio y fath berson hynod. Gwnaeth ef a'i filwyr eu rhan i waradwyddo yr Iesu trwy ei ddiystyru a'i watwar, a'i wisgo â gwisg glaerwen. Gwnaethant hyn i'w wawdio fel ymgeisydd brenhinol i'r Iuddewon. Byddai ymgeisydd am swydd yn Rhufain, dywedir, yn gwisgo gwisg gyffelyb. Yn y wisg hon anfonodd Herod yr

Iesu yn ol at Pilat, a'r dwthwn hwnw yr aeth Pilat a Herod yn gyfeillion ; canys yr oeddynt o'r blaen mewn gelyniaeth â'u gilydd. Yr oedd dau ddrwg fel yn toddi i'w gilydd.



[HEBRON.]

# PENOD XXIII.

*Yr Iesu gerbron Pitat drachefn—Pilat yn ildio i lais dialedd a chenfigen—Pilat yn ceisio glanhau ei hun oddiwrth ei bechod—Diwedd hanes Judas—Y milwyr yn fflangellu yr Iesu—Ein Gwaredwr yn myned i Golgotha—Yr orymdaith hynod tuag yno—Ei groeshoeliad—Ei eiriau ar y groes—Yn gweddïo dros ei elynion—Bwrw coelbren ar ei wisg—Yn achub y lleidr —Yn gofalu am ei fam—Tywyllwch o'r chweched hyd y nawfed awr.*

## PILAT YN CONDEMNIO YR IESU I'W GROESHOELIO.

YN ngwaith Herod yn anfon Crist yn ol ato heb ei gael yn euog cafodd Pilat ei osod mewn mantais adnewyddol i ryddhau yr Iesu a gwaredu ei hun rhag bod yn euog o waed gwirion. Galwodd ato yr archoffeiriaid a llywiawdwyr y bobl, a dywedodd ddarfod iddynt ddwyn yr Iesu o'i flaen ef, ac iddo wneyd ymchwiliad manwl i'w achos : "Ac ni chefais yn y dyn hwn ddim bai o ran y pethau yr ydych chwi yn ei gyhuddo am danynt ;" ac anfonais ef at Herod, a daeth yntau hefyd i'r farn nad oedd efe wedi gwneyd dim yn haeddu marwolaeth. Yma yr oedd Pilat mewn cyfwng neillduol, naill ai i weithredu cyfiawnder trwy ryddhau y dieuog, neu i aberthu cyfiawnder a llais ei gydwybod ei hun i foddloni y lluaws anghyfiawn a chelwyddog. Yma hefyd y dechreuodd ef wyro a myned ymaith gyda'r gwynt a'r tônau.

Ceisiodd gytuno â hwynt trwy fyned i'w cyfarfod ychydig i dawelu eu cynddaredd : "Am hyny," meddai,

"mi a'i ceryddaf ef, ac a'i gollyngaf ymaith." Tybiai y buasai ei fflangellu yn damaid i lonyddu eu dialedd, ac y buasai ei ollwng yn rhydd yn warogaeth i gyfiawnder. Er's rhyw gymaint o amser byddai y rhaglaw neu y swyddog Rhufeinig, boreu y Pasg, yn rhyddhau un carcharor iddynt a ddymunent, yr hwn a fyddai, fe ddichon, wedi gwrthryfela yn erbyn iau estronol. Daeth lluaws o'r ddinas yr adeg hon i ofyn i Pilat ryddhau un carcharor. Yr oedd y dorf erbyn hyn wedi cynyddu yn fawr. Yr oedd *mob* y ddinas wedi cyrhaedd y lle, a'r dyrfa gan grochlefain a ddechreuodd ddeisyf arno wneuthur fel y gwnaethai bob amser iddynt. Disgwyliai Pilat y cawsai ef ollwng yn rhydd yr Iesu, yr hwn a elwid Crist. Pa un a fynwch i mi ollwng yn rhydd i chwi: Barabbas ai yr Iesu, yr hwn a elwir Crist? "A fynwch chwi i mi ollwng yn rhydd i chwi Frenin yr Iuddewon?" I'w gymhell i wneyd cyfiawnder â'r Iesu anfonodd ei wraig, Claudius Procala, gan ddywedyd, "Na fydded i ti a wnelych â'r cyfiawn hwnw." "Ond hwy a ddeisyfasant roddi iddynt wr llofruddiog, gan wadu y sanct a'r cyfiawn." Ar gais y penaethiaid llefodd y bobl, "Bwrw hwn ymaith, a gollwng i ni Barabbas yn rhydd. A'r Barabbas hwnw oedd leidr." "Pa un o'r ddau a fynwch i mi ei ollwng yn rhydd i chwi?" gofynodd drachefn. Atebasant, Barabbas. "Pa beth gan hyny a wnaf i'r Iesu, yr hwn a elwir Crist?" gofynodd. Yna llefai yr holl bobl, "Croeshoelia ef."

Dacw Pilat yn ildio i lais dialedd, cenfigen, ac anghyfiawnder. Nid oedd efe yn gwybod am law y cynghorau a'r bwriadau tragywyddol oedd o'r tu ol i'r cwbl; ond nid oedd y llaw hono yn atal iddo ef weinyddu cyfiawnder, nac yn gwneyd ei gyfrifoldeb yn llai. "A Philat, pan welodd nad oedd dim yn tycio, ond yn hytrach bod cynhwrf, a gymerth ddwfr, ac a olchodd ei

ddwylaw gerbron y bobl, gan ddywedyd, Dieuog ydwyf fi oddiwrth waed y cyfiawn hwn. Edrychwch chwi."

Yr oedd golchi dwylaw i fynegu ymwrthodiad â'r cyfrifoldeb yn arferedig ac yn osodiad gan yr Iuddewon. "Golchaf fy nwylaw mewn diniweidrwydd," meddai y Salmydd. Ac yr oedd hyn hefyd yn arferiad yn mysg y Groegiaid a'r Rhufeinwyr. Yr oedd golchi dwylaw o flaen y bobl fel hyn yn orchwyl hawdd, a llawer hawddach i Pilat na rhyddhau ei hun oddiwrth y cyfrifoldeb o gondemnio y dieuog. Os gallodd olchi ei ddwylaw yn lân o flaen y bobl, nis gallodd buro ei gydwybod na'i thawelu oddiwrth gnöfeydd euogrwydd y weithred anfad, na glanhau staeniau y pechod oddiar ei gymeriad. Nid oedd dim mewn bod a allasai olchi ei ddu gydwybod euog, a thynu ymaith staeniau ei bechod oddiar ei berson a'i gymeriad ond gwaed yr hwn a gondemniodd efe i'w groeshoelio.

Parod ydoedd yr archoffeiriaid a phenaethiaid y bobl, gyda'r holl filoedd oedd yn bresenol, i fyned dan gyfrifoldeb y pechod mawr. Dywedasant, "Bydded ei waed ef arnom ni ac ar ein plant." Arhosodd y pechod o galongaledwch, anghrediniaeth, ac anufudd-dod ar y genedl hyd yr awrhon, a disgynodd dafnau breision o ddigofaint Duw arnynt o hyny hyd yn awr am ladd Tywysog y Bywyd.

"A'r milwyr a'i dygasant ef i fewn y llys a elwir Pretorium." Er ei fod yn cochi y llwybr â'i waed dan effeithiau y fflangell, dangosodd barodrwydd a hunanfeddiant i fyned i lawr ar hyd y ris hon o'i ddarostyngiad. Yn y Pretorium, wedi ei fflangellu, diosgodd y milwyr ef, a rhoisant am dano fantell o ysgarlad er mwyn ei watwar fel un yn honi bod yn frenin i'r Iuddewon. Gwehilion yr hil ddynol mewn gwlad baganaidd oedd y milwyr hyn—sothach llywodraeth baganaidd Rhufain oedd y dwylaw a'i diosgent ac a'i gwisgent

â mantell o ysgarlad. Wedi iddynt blethu coron o ddrain, hwy a'i gosodasant ar ei ben ef; a chorsen yn ei law ddeheu fel teyrnwialen ; ac a blygasant eu gliniau ger ei fron ef, ac a'i gwatwarasant, gan ddywedyd, "Henffych well, Brenin yr Iuddewon ;" a hwy a boerasant arno, ac a gymerasant y gorsen o'i law, ac a'i tarawsant ar ei ben. Y mae y rhan yma o'i hanes yn arwain ein meddwl at y brophwydoliaeth, yr hon a ddywed, "Efe a orthrymwyd, ac efe a gystuddiwyd, ac nid agorodd ei enau." Llefarai ei ddistawrwydd a'i oddefgarwch yn uchel am ei ymostyngiad mabaidd i ewyllys ei Dad; ac yn ei ddistawrwydd cyflawnai y brophwydoliaeth, a gweithredai yn ol y cynghor tragywyddol. Yr oedd ei ymddygiad dioddefgar ac urddasol yn y trialon, dan y fflangell ac yn y gwarth, a hyny yn anghyfiawn, yn effeithio ar Pilat, gallem dybio, er ei waethaf.

Aeth Pilat allan drachefn i wneyd cais am ei ryddhad. Feallai fod Claudius Procala drachefn wedi ymosod arno i wneyd cyfiawnder i'r Cyfiawn hwnw y breuddwydiodd hi am dano. Wele, yr wyf fi, meddai y rhaglaw, yn ei ddwyn ef allan i chwi, fel y gwypoch nad wyf fi yn cael ynddo ef un bai. Yna y daeth yr Iesu allan yn y wisg borphor, yn yr hon y gwisgwyd ef ynddi gan y milwyr er mwyn ei watwar. Er fod ôl y fflangell arno a gwisg watwarus am dano, canfyddai Pilat urddas ynddo yn ei warth. Dywedodd wrthynt, "Wele y dyn" (*Ecce homo*).

Parhaodd yr archoffeiriaid a'r penaethiaid yn eu caledwch a'u gelyniaeth tuagat yr Iesu. "Llefasant, Croeshoelia, croeshoelia ef." Pilat a ddywedodd wrthynt, Cymerwch chwi ef a chroeshoeliwch ef, gan y rhaid i chwi gael ei groeshoelio: "canys nid wyf fi yn cael dim bai ynddo." Ni wnaeth un bai yn erbyn y gyfraith dros ba un yr ydwyf fi yn sefyll. Dywedodd yr Iuddewon,

Y mae gyda ni gyfraith, ac yn ol hono fe ddylai farw, am iddo wneuthur ei hunan yn Fab Duw ; a phan glybu Pilat yr ymadrodd hwnw efe a ofnodd yn fwy. Ofnai y gallai fod rhyw gysylltiad rhwng y person rhyfedd hwn â'r duwiau, ac y gallai y duwiau dynu mwy o aflwydd ar ei ben na'r Iuddewon. Gofynodd i'r Iesu yn y dadleudy, "O ba le yr wyt ti?" A oes rhywbeth mwy na dynol yn dy ddechreuad? Ni roddodd yr Iesu ateb iddo. Am hyn ffromodd Pilat wrtho, a gofynodd iddo, "Oni wyddost ti fod genyf awdurdod i'th groeshoelio di, a bod genyf awdurdod i'th ollwng yn rhydd?" Y mae genyt, ebe'r Iesu, awdurdod arnaf fi; ond ni fyddai i ti ddim awdurdod arnaf oni bai ei fod wedi ei roddi oddiuchod. Mae dy bechod di yn fawr, ond mae eu pechod hwy, y rhai a'm traddodasant i ti, yn llawer mwy. Barnai Pilat fod ei dystiolaeth am dano ef a'r Iuddewon yn farn gyfiawn a chywir. Dywedasant, "Os gollyngi di hwn yn rhydd nid wyt ti garedig i Cesar. Pwy bynag a'i gwnelo ei hun yn frenin, y mae yn dywedyd yn erbyn Cesar." Dygasant yma ddadl newydd i beri dychryn ar Pilat, ac i ddwyn yr hwn oedd wedi dechreu gwyro mewn barn gyfiawn i ddwyn yr achos i derfyniad trwy groeshoelio yr Iesu. Ceisiodd Pilat gan hyny berswadio ei hun iddo wneyd ymdrech ddigonol i'w ryddhau, ond y dylasai beth bynag beidio niweidio ei hun.

Dygodd allan yr Iesu drachefn yn ei wisg borphor a'r goron ddrain ar ei ben, a dywedodd, "Wele eich Brenin." Dywedodd hyn, mae'n debyg, i ddwyn yr achos i derfyniad, ac i daflu y cyfrifoldeb arnynt hwy. Llefasant "Ymaith âg ef, ymaith âg ef, croeshoelia ef. Pilat a ddywedodd wrthynt, A groeshoeliaf fi eich Brenin chwi? A'r archoffeiriaid a atebasant, Nid oes i ni frenin ond Cesar. Yna gan hyny efe a'i traddodes ef iddynt i'w groeshoelio."

## DIWEDD OFNADWY JUDAS.

"Pan welodd Judas ddarfod ei gondemnio bu edifar ganddo." Gallem feddwl ei fod ef yn dilyn o'r ardd hyd nes y traddododd Pilat ef i'w groeshoelio. Credwn nad oedd Judas yn llefain "Croeshoelia ef" gyda'r dorf. Nid oedd y pechod o'i fradychu wedi gallu dileu yr effeithiau o ddilyn ac edrych ar fywyd sanctaidd a dihalog yr Iesu am dair blynedd. Gwyddai fod yn yr Iesu allu digonol i ddianc o ddwylaw ei elynion, a dichon ei fod yn meddwl o hyd yn ystod y prawf am dano yn dianc o afael pobl Nazareth pan y ceisient ei daflu dros y graig. Ond pan welodd i'w fradychiad ef ddibenu yn ei gondemniad, bu edifar ganddo. Cododd cyffro yn ei gydwybod oherwydd fod cyfiawnder yn gwaeddi am ddial arno am fradychu gwaed gwirion. Pe buasai Judas yn myned at yr Iesu, ac yn datgan ei edifeirwch ger ei fron, buasai yn myned i le tebyg iawn i dderbyn maddeuant. Nid yw efe wedi gwrthod maddeu i'r edifeiriol. Fe aeth i'r lle mwyaf anhebyg i dderbyn cydymdeimlad a gwaredigaeth: "ac a ddug drachefn y deg ar hugain arian i'r archoffeiriaid a'r henuriaid, gan ddywedyd, Pechais, gan fradychu gwaed gwirion. Hwythau a ddywedasant, Pa beth yw hyny i ni? edrych di. Ac wedi iddo daflu yr arian yn y deml, efe a ymadawodd, ac a aeth ac a ymgrogodd." Prynasant â'r arian faes y crochenydd yn gladdfa dieithriaid, yr hwn a alwyd "Maes y gwaed." Yr oedd hyn yn gyflawniad prophwydoliaeth.

Mae cyfiawnder yn fynych yn y byd yn dial gwaed gwirion. Dacw Judas yn gwneyd ei hun yn dystiolaeth o gyfiawnder yn dial gwaed gwirion. Dywed yr hanes i Caiaphas gael ei ddiswyddo y flwyddyn ganlynol. Bu farw Herod dan warth mewn alltudiaeth. Pilat hefyd, medd yr hanes, a fu farw trwy hunanladdiad mewn

alltudiaeth. Dymchwelwyd tŷ Annas yr oes ddilynol gan gynddaredd y lluaws, a llusgwyd ei fab trwy yr heolydd dan ei fflangellu ar ei ffordd i'r dienyddle. Derbyniodd y bobl anedifeiriol a'u plant ddial cyfiawnder yn ninystr Jerusalem.

### YR IESU YN MYNED I GALFARIA.

"Ac efe gan ddwyn ei groes a ddaeth i le a elwid Lle y benglog, ac a elwir yn Hebraeg, Golgotha.—IOAN xix. 17.

Yr oedd yr hwn a groeshoelid i gario y groes, neu ran ohoni, sef y pren croes, i Golgotha. Gydag ef y croeshoeliwyd dau ddrwgweithredwr. Canwriad y fyddin oedd yn trefnu yr orymdaith, ac yn cario allan y ddedfryd yn ol gorchymyn Pilat ar gais yr Iuddewon. Ar ol iddynt barotoi y groes, a gwneyd i fyny y trefniadau gogyfer â'r orymdaith a'r amgylchiad, diosgodd y milwyr yr Iesu o'i wisg borphor a'r goron ddrain, ac a'i gwisgasant ef yn ei ddillad ei hun, ac a'i dygasant allan i'w groeshoelio. Wele yr orymdaith yn cychwyn i fyned tu allan i byrth Jerusalem i Golgotha, neu Galfaria. Bernir mai i'r gogledd-orllewin o Jerusalem yr oedd y lle, oddeutu haner milldir o'r ddinas. Edrychwn ar yr orymdaith yn cyfeirio tuag yno. Canfyddodd y milwyr fod yr Iesu yn egwan o ran ei gorph i gario y groes o'r Pretorium i Galfaria heb golli amser. Ewyllysient fyned trwy yr amgylchiad yn ddiymdroi. Yr oedd noson ddigwsg, pryder meddwl, a sefyll heb orphwys yn ei brawf, y cernodio a'r fflangellu, yn anfanteisiol iddo i gadw i fyny ei nerth corphorol i gario y groes. Dygodd ei groes trwy heolydd Jerusalem; ac fel yr oeddynt yn myned allan trwy y porth, cawsant ddyn o Cyrene—lle yn ngogledd Affrica—a'i enw Simon, yr hwn oedd Iuddew, ac a ddaeth o bell i'r wyl yn Jerusalem. Gwelai y milwyr y byddai yn well i Simon ddwyn croes yr Iesu am ran o'r ffordd; gan hyny hwy a ddaliasant Simon o Cyrene,

ac a ddodasant y groes arno ef, i'w dwyn ar ol yr Iesu. Gallai fod ynddo gydymdeimlad â'r Gwaredwr. Fodd bynag, gwnaeth gymwynas â'n Gwaredwr trwy ddwyn ei groes yn ei le am ran o'r ffordd. Y mae yr hanes yn mynegu iddo ef a'i deulu gael eu dychwelyd ato, a'u gwneyd yn bobl iddo. Dywedodd Paul wrth y saint yn Rhufain, "Anerchwch Rufus, etholedig yr Arglwydd, a'i fam ef a minau." Yr oedd Rufus, meddir, yn fab i Simon o Cyrene, a'i fam yn wraig iddo.

"Ac yr oedd yn ei ganlyn luaws mawr o bobl, ac o wragedd, y rhai hefyd oedd yn cwynfan ac yn galaru o'i blegid ef." Distaw oedd efe dan y groes, ond yr oedd cwynfan a galar merched Jerusalem yn peri iddo droi atynt, a dywedyd, "Merched Jerusalem, na wylwch o'm plegid i: eithr wylwch o'ch plegid eich hunain, ac oblegid eich plant." Edrychai gyda thosturi arnynt yn dinystrio eu hunain, ac wrth feddwl am yr erchylldra a ddisgynai ar y ddinas trwy y dinystr gan y Rhufeiniaid.

## GWEDDI CRIST DROS EI ELYNION.

"A hwy a'i croeshoeliasant ef."—MARC xv. 25.

Ni a edrychwn gyda pharchedig ofn ar yr hwn a wanasant, a gogwyddwn ein clust yn wylaidd i wrando beth a ddywed ar bren gwaradwyddus y groes. Y mae ei achos ei hun heddyw yn ddigon fel nas gall gael hamdden i feddwl am ereill. Ond molianwn, addolwn, ac ymgrymwn ger ei fron, wrth feddwl yn y profiad cyntaf o arteithiau y groes, iddo ddywedyd, "O Dad, maddeu iddynt; canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur." Gweddïai am faddeuant i'w elynion dan nod eithaf eu gelyniaeth a'u dialeddau. Erbyn hyn nis gallent hwy wneuthur ychwaneg o ddirmyg iddo: yr oeddynt wedi myned trwy eu holl ddyfeisiau a'u bradwriaethau dialeddol i'w ddirmygu trwy ei watwar a'i

fflangellu, a'i groeshoelio ar bren gwaradwyddus y groes. Ond, O! ryfedd gariad! wedi iddynt orphen eu dirmyg, gweddïo y mae efe am iddynt gael y fendith fwyaf angenrheidiol a gwerthfawr —y fendith a roddai fynedfa iddynt i holl drigfanau y nef. Wele gyflawniad perffaith a gogoneddus o'r gorchymyn a roddodd i'r dysgyblion ar y mynydd. Tywalltodd ei waed er maddeuant pechodau, a phan yn tywallt ei waed ac yn dioddef dros ein pechodau, anfonodd ddeisyfiad at ei Dad am faddeuant i'w boenydwyr! Y mae ei gariad yn dal yn ddigyfnewid ar y groes at ei elynion! Ydyw, y mae ei gariad at ddynolryw yn cael ei droi yn weddi am faddeuant i'r annuwiolion o'i gwmpas. Dywed, "Canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur." Yr oedd dau orchudd rhyngddynt â'i adnabod fel Arglwydd y gogoniant: yr oedd ei wisg mewn agwedd gwas; hefyd, yr oedd gorchudd o dywyllwch yn eu deall trwy dwyll pechod a chamarweiniad crefyddol. Yr oedd Moses a'r prophwydi ganddynt, y rhai oedd yn tystiolaethu am Grist, ond oherwydd tywyllwch eu deall trwy dwyll pechod a chamarweiniad crefyddol, daearol ac anianol oedd eu syniadau am y Messiah. Yr oeddynt er y cwbl yn gyfrifol am y pechod hwn o groeshoelio Arglwydd y gogoniant; ac yr oedd y pechod hwn yn fawr. Llanwodd hwn gwpan eu hanwiredd. Yr oedd y pechod mor fawr fel yr eglurid mawredd gogoniant Arglwydd y gogoniant yn ei ddeisyfiad at ei Dad am faddeuant ohono. Ni fu ei weddi ar y groes yn ofer—

"Gwnaeth i'r rheini
Wylo edifeirwch pur.

YR IESU AR Y GROES.

A Philat a ysgrifenodd deitl, ac a'i dododd ar y groes, a'r ysgrifen oedd "IESU O NAZARETH, BRENIN YR IUDDEWON." Yr oedd yr ysgrifen wedi ei ys-

grifenu yn Hebraeg neu Aramaeg, tafodiaith y bobl ar y pryd, yr hon oedd yn cynrychioli yr iaith Hebraeg; a'r iaith Roeg, yr hon oedd mewn cylchrediad; a'r iaith Lladin, sef iaith y llywodraeth. Gofalodd Pilat am fod yr ysgrifen yn ddealledig i bawb o'r dyrfa. "A hwy a'i croeshoeliasant ef." Trodd y rhaglaw y gwaradwydd arnynt hwy, ac edrychai ar yr Iesu yn ddigon uwchlaw iddynt i fod yn Frenin. A hwy a aethant at Pilat gan ofyn iddo beidio ysgrifenu Brenin yr Iuddewon. Teimlai Pilat erbyn hyn ei fod wedi ildio digon iddynt hwy. Dywedodd, "Yr hyn a ysgrifenais a ysgrifenais."

Brenin yn y frwydr ydoedd ef yma. Anfon eu deiliaid i'r frwydr y mae brenhinoedd y ddaear y rhan fynychaf o lawer, a diogelu eu hunain gartref. Ond wele Frenin ei hunan yn y frwydr. Y mae efe yn fyw ac yn sefyll fel Brenin yn Edom—canolbwynt cyfarfyddiad y gelynion; ac er fod pawb wedi ei adael a phawb yn ei erbyn, gorchfygu y mae efe. Pa fodd y gwyddom ei fod yn gorchfygu? Y mae ganddo ddigon o nerth wrth gefn i weddïo dros ei elynion.

### BWRW COELBREN AR EI WISG.

"Y maent yn rhanu fy nillad yn eu mysg, ac ar fy ngwisg yn bwrw coelbren."—SALM xxii. 18.

Cyflawnwyd y brophwydoliaeth hon gan y milwyr paganaidd, y rhai ni wyddent yr Ysgrythyr. Rhanasant ei wisg yn bedair rhan, un rhan i bob milwr. Pedwar o filwyr oedd yn ei groeshoelio. Yr oedd ei wisg uchaf yn ddiwnïad, wedi ei gweu o'r cwr uchaf trwyddi oll. Felly yr oedd y wisg yn un darn, a buasai ei darnio yn bedair rhan yn gwneyd pob rhan yn ddiwerth. Gwelodd y milwyr nad oedd wiw ei thori; gan hyny, ar ei wisg y bwriasant goelbren. Felly disgynodd ei wisg i ran un

o'r paganiaid milwrol hyn, a thrwy hyn cyflawnwyd y brophwydoliaeth.

Yn y brophwydoliaeth hefyd cawn olwg ar y gwatwar a fu ar ein Gwaredwr pan ar y groes. Dywedir yn y brophwydoliaeth, "Pawb a'r a'm gwelant a'm gwatwarant: llaesant wefl." Yn ei gylchynu ef yr oedd yr archoffeiriaid, a'r ysgrifenyddion, a'r henuriaid, ac fel gwrdd deirw Basan agorasant eu genau i'w watwar. Edrychwn am fynud ar yr olygfa ryfedd hon. Wele Fab y dyn, y sanctaidd a'r dihalog, ac unig-anedig Fab Duw, yn ei ymdrech fawr yn cadw eneidiau dynion, ac eneidiau dynol o'i gwmpas, yn llaw gallu y tywyllwch, yn gwneyd eu goreu i'w watwar a'i waradwyddo. Pa fodd y daliodd efe i'w watwar a'i waradwyddo? "A ddioddefodd y groes, gan ddiystyru gwaradwydd." Gadawodd y cwbl yn llaw ei Dad er mwyn gwneuthur ei ewyllys ef trwy offrymu ei hun.

### TROEDIGAETH Y LLEIDR AR Y GROES.

"Arglwydd, cofia fi pan ddelych i'th deyrnas."—LUC xxiii. 42.

Dywed Matthew a Marc fod y ddau ddrwg-weithredwr a groeshoeliasid gydag ef yn ei ddifenwi. "A'r un peth hefyd," meddai Matthew, "yr edliwiodd y lladron, y rhai a groeshoeliasid gydag ef." Feallai fod y ddau yn cablu yn y dechreu hyd nes y profodd un gyfnewidiad wrth edrych ar ymddygiad yr Iesu yn y gwaradwydd. Neu gallai fod cofio rhywbeth a welodd neu a glywodd am dano wedi bod yn foddion troedigaeth iddo. Dyma un o'r drwg-weithredwyr yn pregethu yr Iesu wrth y drwg-weithredwr a ddioddefai gydag ef, ac yn dwyn tystiolaeth i anrhydedd, urddas, a gogoniant y Cyfiawn a'r Sanctaidd. Yn nghanol y gwatwar, fel rhuadau gwrdd deirw Basan, a chyfarthiadau cwn uffern, clust-

feiniwn i wrando adlais ffydd a'i thystiolaeth i'r gwirionedd. Efe yn unig a welodd ogoniant yr Iesu, ac a wnaeth arddeliad ohono fel Gwaredwr pechaduriaid, pan yr oedd efe yn groeshoeliedig ar bren y groes. Dywed Luther, "fod tystiolaeth a phroffes y lleidr ar y groes yn arwydd cysurlawn ac yn engraipht sicr i'r byd Cristionogol y gofala yr Arglwydd fod ffydd yn Nghrist a phroffes ei enw yn fyw yn y byd." Yr oedd y dysgyblion wedi eu gwasgaru ac yn sefyll o hirbell. Rhaid gan hyny i'r lleidr dd'od yn mlaen i'w broffesu a'i bregethu. Dywedodd wrth yr hwn oedd yn cablu yr Iesu, "Onid wyt ti yn ofni Duw, gan dy fod dan yr un farnedigaeth?" Pobl heb ofni Duw yn eu calonau oedd yn ei watwar. Nid ydyw yn amser i gablu heddyw, fel pe dywedasai, ond i ofni Duw. Yr ydym ni yn haeddu dioddef, ac yn derbyn yr hyn a haeddai y pethau a wnaethom. "Eithr hwn ni wnaeth ddim allan o'i le." Er iddo gael ei gondemnio mewn dau lys, ni wnaeth ddim allan o'i le. Er iddo gael ei gernodio a'i fflangellu a'i groeshoelio, ni wnaeth ddim allan o'i le. Y mae gwir ffydd yn tystiolaethu i'r gwirionedd. Anmhrisiadwy ydoedd y dystiolaeth hon o ganol gau-dystion.

"Ac efe a ddywedodd wrth yr Iesu, Arglwydd, cofia fi pan ddelych i'th deyrnas." Mewn atebiad i weddi y lleidr y llefarodd yr Iesu yr ail waith ar y groes. "Heddyw," meddai, "y byddi gyda mi yn mharadwys." Meddianodd faddeuant trwy ei waed ef, a rhoddodd yr Iesu goron cyfiawnder iddo. Trwy hyn cafodd y rhagorfraint oruchel o fod yn arwydd cyntaf o fuddugoliaeth y groes, a nerth gras Duw trwy Iesu Grist i achub y penaf o bechaduriaid. Yr oedd ei edifeirwch a'i ffydd fel balm i glwyfau yr Iesu. Gwelai ei ffydd ef yr Iesu yn Arglwydd ac yn Frenin, er ei fod yn ei waradwydd.

**"Ac yr oedd yn sefyll wrth groes yr Iesu, ei fam ef, a chwaer ei fam ef; Mair gwraig Cleophas, a Mair Magdalen."—Ioan xix. 25.**

Yr oedd Ioan hefyd yn sefyll gerllaw. Geilw efe ei hun y "dysgybl yr hwn a garai efe." Yr hanes diweddaf a gawn am Ioan cyn hyn oedd yn nghyntedd yr arch-offeiriad. Y mae yn debyg iddo ddilyn yr Iesu gyda gwyliadwriaeth at Pilat, ac i'r diwedd, hyd nes y tra-ddodwyd ef i'w groeshoelio. Ioan yw yr unig un o'r un-ar-ddeg y mae genym hanes iddo fyned at y groes. Gwyddai fod iddo le uchel yn serchiadau ei Waredwr; nis gallai hyny lai na'i gymhell i'w ddilyn hyd y diwedd. Daeth Mair ei fam i'r wyl hon, yr hon, debygem, a arhosai gyda rhieni Ioan. Pan welodd Ioan ddarfod i Pilat draddodi yr Iesu i'w groeshoelio, a'u gweled yn parotoi at yr amgylchiad, ac yn trefnu yr orymdaith ryfedd, gallem feddwl iddo ddychwelyd adref a mynegu yr hanes i'w rieni; ac felly yr hysbyswyd y newydd trist i'w fam. Y mae yn debyg i'r Iesu fynegu i'w fam beth fyddai ei ddiwedd, ac mai trwy y diwedd hwnw y cyf-lawnai amcan mawr ei anfoniad a'i ddyfodiad i'r byd.

Yma gwelwn ei fam yn sefyll wrth y groes. Diau nas gallent ei chadw yn y ty,—mynai ei chariad gael golwg ar ei Mab anwyl a'i Gwaredwr ar y groes, beth bynag fyddai y canlyniadau. Wrth weled penderfyniad Mair, barnodd y gwragedd ereill mai doeth a gweddus fyddai iddynt gydymdeimlo â hi trwy fyned gyda hi at y groes. Wrth weled ffyddlondeb y gwragedd, tuedd-wyd Ioan hefyd i fyned gyda hwynt. Amlwg ydoedd ffyddlondeb y gwragedd hyn i'w Harglwydd. Yr oedd pedair o'r gwragedd ffyddlawn wrth y groes, pan nad oedd yno ond un apostol.

Dywedodd Simeon wrth Mair yn y deml, adeg ei enwaediad, "A thrwy dy enaid dy hun yr ä cleddyf." Cyflawnwyd prophwydoliaeth Simeon, mae yn dra thebygol, pan y cafodd Mair yr olwg gyntaf ar yr Iesu

ar y groes. Llefarodd y drydedd waith ar y groes wrth weled ei fam yn ei dagrau, a gweled ei ffyddlondeb hi ac ereill a safai yno. "Yr Iesu gan hyny, pan welodd ei fam, a'r dysgybl yr hwn a garai efe yn sefyll gerllaw, a ddywedodd wrth ei fam, O wraig, wele dy fab. Gwedi hyny y dywedodd wrth y dysgybl, Wele dy fam." Dywedodd wrth Mair ei fam am iddi gymeryd Ioan yn fab iddi, ac ymddwyn ato fel ei mab; a dywedodd wrth Ioan am iddo gymeryd Mair yn fam iddo, ac ymddwyn ati fel ei fam. "Ac o'r awr hono allan y cymerodd y dysgybl hi i'w gartref." Dangosai dynerwch a gofal am ei fam trwy ei chyflwyno i ofal un a garai efe. Yr oedd cartrefu gyda'r dysgybl a garai yr Iesu mor fawr, a'r hwn yntau a garai ei Waredwr yn fawr, yn ei chynorthwyo i anghofio ei chartref yn Galilea. Mynych, yn ddiamheu, yr ymddiddanai y teulu hwn am yr Iesu, pryd y profent hyfrydwch digyffelyb, oherwydd byddai efe yn egluro ei hun iddynt.

"Ac ar y chweched awr y bu tywyllwch ar yr holl ddaear, hyd y nawfed awr."—Matth. xxvii. 45.

Dechreuodd y tywyllwch rhyfedd hwn ddeuddeg o'r gloch ganol dydd, a pharhaodd hyd dri yn y prydnawn. Yr oedd y tywyllwch yn gyffredinol. Gwrthodai yr haul edrych ar ei Greawdwr yn dyoddef ar bren y groes: ac fel yn llewygu mewn ymdrech i ddangos cydymdeimlad âg ef trwy ei ganlyn i'r tywyllwch. Rhoddodd y tywyllwch daw ar watwar y gwatwarwyr, a mynodd lonyddwch i'r Iesu oddiwrth eu gwawd i fyned trwy waith mawr ei oes, sef offrymu ei hun yn offrwm ac yn aberth difai i Dduw. Mynegai y tywyllwch am y Tad yn cuddio ei wyneb oddiwrth ei Fab oherwydd ein pechodau ni. Yr oedd gwg a chuddiadau gwyneb ei Dad yn cynwys holl dônau llifeiriant digofaint Duw am ein pechodau ni: "Yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth efe yn bechod drosom ni."

# PENOD XXIV.

*Yr Iesu yn profi cuddiadau gwyneb ei Dad—Ei eiriau olaf—Ein Gwaredwr yn marw—Amgylchiadau, arwyddion, ac effeithiau y croeshoeliad.*

## EI EIRIAU OLAF.

"Ac yn nghylch y nawfed awr y llefodd yr Iesu â llef uchel, gan ddywedyd, Eli, Eli, lama sabachthani? hyny yw, Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?"—MATTH. xxvii. 46.

HWN ydoedd y pedwerydd air a lefarodd ar y groes, a hwn ydoedd y cyntaf a lefarodd o berthynas iddo ei hun. Llefarodd hwynt, meddir, yn yr iaith a ddysgwyd iddo gan ei fam. Er nas gallwn ddeall ystyr y geiriau, awgrymant i ni ddyfnder a mawredd dioddefiadau ein Gwaredwr. Dan guddiadau gwynebpryd ei Dad y mae efe yn gofyn, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?" Yr oedd digofaint Duw am ein pechodau ni yn bellder ac yn ddieithrwch rhwng y Tad a'r Mab. Awgryma y geiriau hefyd berffeithrwydd dwyfol ein Gwaredwr pan yn dioddef am ein pechodau ni. Nis gall y goreu o bobl Dduw ar y ddaear ofyn i'w Tad nefol, "Paham y'm gadewaist," pan y mae yn cuddio ei wyneb oddiwrthynt. Gwyddant yn dda eu bod hwy yn cyfiawn haeddu cuddiadau gwyneb eu Tad. Yn eu hymdrech i symud y tywyllwch oddiar ei wynebpryd ef, gwaeddant, "Er mwyn dy enw, Arglwydd, maddeu fy anwiredd, canys mawr yw." Gwyddai yr Iesu ei fod yn dioddef yn ein lle a throsom ni, a gwyddai fod yn rhaid iddo ef, yr hwn na wnaeth bechod, gael ei wneyd yn

bechod drosom ni, a phrofi eithaf chwerwder cyflog pechod mewn marwolaeth. Yr oedd efe yn ewyllysio gwneuthur ewyllys ei Dad trwy brofi ei ddigofaint am ein pechodau ni. Yma y mae efe yn ymgysuro nad oedd efe ei hun yn haeddu: pan yr oedd tywyllwch oddifyny, heb un pelydryn o'r nef, y mae efe yn cael pelydryn o oleuni yn ei fynwes ei hun. "Tywysog y byd hwn sydd yn dyfod," meddai mewn un lle, "ac nid oes iddo ddim ynof fi." Ymgysurai yn y gwirionedd ei fod yn berffaith rydd a glân oddiwrth ddim a fuasai yn cytuno âg ymosodiadau tywysog y byd hwn; a gofynai i'w Dad Paham! dan guddiadau ei wyneb am ein pechodau ni.

Tybiodd rhai ei fod yn galw ar Elias. Yr oedd y gair cyntaf, "Eli," i rai yn swnio yn debyg i enw Elias y prophwyd. "Wedi hyny yr Iesu yn gwybod fod pobpeth wedi ei orphen weithian, fel y cyflawnid yr ysgrythyr, a ddywedodd, Y mae syched arnaf." Hwn ydoedd y pumed air a lefarodd efe ar y groes. Yr oedd y tywyllwch, ni a gredwn, yn dechreu cilio oddiar wyneb y Tad; a gwyddai ei fod wedi myned trwy galedwaith mawr ei oes, a gwyddai hefyd am y brophwydoliaeth, yr hon a ddywed, "Ac a'm diodasant â finegr yn fy syched." Gosododd anrhydedd ar y gair trwy gyflawni ei brophwydoliaeth ar y groes. "Ac un a redodd ac a lanwodd yspwng yn llawn o finegr, ac a'i gosododd ar gorsen, ac a'i diododd ef." Canodd Islwyn wrth feddwl am dano mewn syched—

"Ac wylodd llawer ffynon bell
Hyd arlechweddau Canaan gu,
Pan gludai'r awel brudd y llef,
'Mae syched, syched arnaf fi!'"

Yna pan gymerodd yr Iesu y finegr, efe a ddywedodd, "Gorphenwyd." Hwn ydoedd y chweched air a lefarodd ar y groes. Wele wawr ar achos byd colledig: y mae y gyfraith wedi ei mawrhau a'i gwneuthur yn

anrhydeddus. Yn ei fywyd a'i ufudd-dod hyd angeu y groes y mae v prophwydoliaethau wedi eu cyflawni, y cysgodau wedi derbyn eu sylwedd, a'r hen gyfamod wedi d'od i'r terfyn, a'r cyfamod newydd wedi ei sefydlu a'i gysegru â'i waed ef; Iuddewiaeth wedi myned yn ddiddefnydd, a'r sancteiddiolaf wedi peidio bod yn gartref y presenoldeb dwyfol. Y mae efe trwy offrymu ei hun yn offrwm ac yn aberth difai i Dduw wedi "dibenu camwedd a selio pechodau, a gwneuthur cymod dros anwiredd, a dwyn cyfiawnder tragywyddol, ac wedi selio y weledigaeth a'r brophwydoliaeth, ac eneinio y sancteiddiolaf."

Mae y gair "Gorphenwyd" gan ein Gwaredwr ar y groes wedi estyn testynau newyddion i fawl y ddaear, ac wedi llenwi moliant y nef â newydd-deb tragywyddol. Mae ein byd ni wedi ei gysegru a'i ddyrchafu trwy iddo lefaru ynddo y gair "Gorphenwyd." Esgynodd ei beroriaeth ar adenydd awelon ein byd ni i gyfandiroedd llywodraeth ein Duw. Dywed y gair "Gorphenwyd" fod ein Gwaredwr wedi gorphen gwaith ei ddiwrnod yn gynarol am dri o'r gloch prydnawn, yn dair-ar-ddeg-ar-hugain oed, a'i fod wedi llwyddo yn ei genhadaeth o'r nef i barthau isaf y ddaear i gadw y colledig.

"A'r Iesu gan lefain â llef uchel a ddywedodd, O Dad, i'th ddwylaw di y gorchymynaf fy ysbryd. Ac wedi iddo ddywedyd hyn efe a drengodd." "A chan ogwyddo ei ben, efe a roddes i fyny yr ysbryd." Hwn ydoedd y seithfed air a'r olaf a lefarodd yr Iesu ar y groes. Gweithredydd gwirfoddol oedd efe yn ei farwolaeth. Arwyddai y llef hon fuddugoliaeth, a'i fod yn dechreu profi y llawenydd a'r gogoniant ar ol hyny.

### ARWYDDION AC AMGYLCHIADAU Y CROESHOELIAD.

Y mae yr arwyddion cydfynedol â'r amgylchiad yn mynegu am fawredd ei Berson a mawredd ei waith.

"Ac wele," medd yr hanes, "llen y deml a rwygwyd yn ddau oddi fyny hyd i waered; a'r ddaear a grynodd, a'r meini a holltwyd: a'r beddau a agorwyd; a llawer o gyrph y saint a hunasent a gyfodasant," ac a ymddangosasant i lawer yn y ddinas sanctaidd. Effeithiodd arwyddion yr amgylchiad ar y canwriad. Derbyniodd, hefyd, y rhai oedd gydag ef yn gwylied yr Iesu argraphiadau neillduol trwy yr amgylchiad rhyfedd, a dywedasant, "Yn wir, Mab Duw oedd y dyn hwn." Wele yr hedyn mwstard yr hwn a dyfodd yn bren mawr, fel y mae llawer erbyn hyn yn gwneyd eu cartref yn ei ganghenau. Y mae ei groeshoeliad yn derfyn rhwng yr hen oruchwyliaeth a'r newydd. Ffydd yn Nghrist ydyw yr unig allu i gynyrchu gwir rinwedd yn naturiol, moesol, ac ysbrydol.

Safodd y gwragedd ffyddlawn a'i canlynasant ef o Galilea i edrych ar y pethau hyn. Pe gellid gweled llyfr ei goffadwriaeth ef i'w bobl, ni a ganfyddem yn ddiamheu lawer o hanes y gwragedd ffyddlawn o Galilea a fu yn gweini i'r Iesu pan nad oedd ganddo le i roddi ei ben i lawr; ac yn y llyfr, debygem, ni a ganfyddem wroldeb eu cariad yn d'od at ei groes; ni wyddom faint o sirioldeb roddodd eu presenoldeb iddo ef. Daeth cynifer o'r Iuddewon at Pilat, fel na arhoi y cyrph ar y groes ar y Sabboth, a deisyfasant gael tori eu hesgeiriau a'u tynu i lawr. Pan y daeth y milwyr at yr Iesu ni thorasant ei esgeiriau ef, oherwydd gwelent ei fod wedi marw eisioes; ond un o'r milwyr a wanodd ei ystlys â gwaewffon, ac yn y fan daeth allan waed a dwfr. Yr oedd Ioan yn gweled hyn, a dywed, "A gwir yw y dystiolaeth." Gwyddai ei fod yn dyweyd y gwir; nis gallai anghofio y milwyr yn gwanu ei anwyl Geidwad.

Nid oedd asgwrn o oen y Pasg i gael ei dori, yr hwn oedd gysgod neillduol o Grist; ac wele y cysgod a'r brophwydoliaeth yn cael eu cyflawni. Dywed y bro-

phwydoliaeth, "Ni thorir asgwrn ohono." Trodd cynddaredd y milwr hwn yn foliant i Dduw trwy iddo gyflawni y brophwydoliaeth.

Daeth dau foneddwr yn mlaen i weinyddu ar yr Iesu wedi iddo orphen ei waith, a gorphen ei ddiwrnod—Joseph o Arimathea a Nicodemus. Dau oedd yn ei gynhebrwng, ond dau tra anrhydeddus oeddynt er hyny. Y Tad oedd yn trefnu y claddedigaeth, ac apwyntiodd Joseph a Nicodemus yn ofalwyr *(undertakers)* yn yr amgylchiad. Llefara yr Efengylwyr yn barchus am danynt. Dywed Matthew fod Joseph o Arimathea yn wr goludog, fel yr oedd ganddo fodd i wneyd y claddedigaeth yn anrhydeddus. Cynghorwr pendefigaidd y gelwir ef gan Marc, a dywed hefyd, nid yn unig ei fod yn gynghorwr, ond hefyd yn wr da, ac yn disgwyl am deyrnas Dduw. Yr oedd efe yn ddysgybl i'r Iesu, ond yn guddiedig. Peidied neb o'r dysgyblion cuddiedig a llechu yn nghysgod y ddau ddysgybl hyn. Daethant hwy at ei groes, a gwnaethant broffes ohono yn ei waradwydd, ac a fuont o wasanaeth mawr iddo mewn adeg yr oedd pawb wedi ei adael. Yr oedd Nicodemus yn benaeth yr Iuddewon. Daeth cyn hyn at yr Iesu liw nos; ond yma daw at y groes gyda chan' pwys o fyrr ac aloes, i berarogli ei gorph; a phan y gwelsant yr Iesu yn gogwyddo ei ben ac yn rhoddi i fyny yr ysbryd, daethant yn mlaen i ymaflyd yn eu gwaith fel rhai wedi eu hawdurdodi i'w gyflawni. Fe aeth Joseph i mewn yn hyf at Pilat yn ei balas, ac a ddeisyfodd gorph yr Iesu.

Dywedir y darluniai un o bregethwyr hyawdl yr oes o'r blaen Joseph yn myned i brynu llian main, a gofynai i'r gwerthwr am y llian main goreu. Dygodd y gwerthwr un da i'w ddangos iddo: nid oedd hwn yn ddigon da gan Joseph, gofynodd a oedd ganddo un gwell. Ai hwn ydyw y goreu sydd gyda chwi? gofynodd i'r

gwerthwr. Y mae genym un gwell, atebodd, ond nid ydym yn cadw hwnw ond i'r rhai a ystyrir yn fawrion y tir. Deuwch a'r goreu sydd gyda chwi heddyw, meddai Joseph; a phe buasai yn mynegu ei deimlad buasai yn dyweyd fod y mwyaf o bawb yn cael ei gladdu heddyw.

Dywed Matthew, "A Joseph wedi cymeryd y corph a'i hamdôdd â llian glân." "Ac a'i hamdôdd yn y llian main," meddai Marc. Prynodd Nicodemus tua chan' pwys o fyrr ac aloes i'w berarogli. Gosododd Joseph ef yn ei fedd newydd ei hun, yr hwn a dorasai efe yn y graig, mewn gardd, ac a dreiglodd faen mawr wrth ddrws y bedd, ac a aeth ymaith.

Coleddai yr Iuddewon syniadau uchel am ddiogelu a chadw y corph ar ol marw, fel yr hyn oedd yn dwyn cysylltiad agos â'u llwyddiant a'u dedwyddwch yn y dyfodol. Ymdrechai y cyfoethog am gael bedd wedi ei naddu yn y graig er mwyn cael diogelwch i'r corph. Boddlonodd ei Dad mor dda fel y rhoddodd ar feddwl a chalon cynghorwr pendefigaidd, cyfiawn, a da i'w ddodi ef yn ei fedd newydd ei hun, yr hwn a dorasai efe mewn craig.

Er nad oedd y gwragedd a'i canlynasant ef o Galilea yn meddu digon o wroldeb i fyned at Pilat, edrychent pa le y dodid ef. Nis gallai cariad y gwragedd hyn ymatal heb roddi datganiad ohono ei hun trwy ddilyn y corph at y bedd mewn hiraeth dwys. Eisteddasant am enyd gyferbyn ä'r bedd, a gofynent i'w gilydd, Beth a gawn ni ei wneuthur? Barnent, fe ddichon, nad oedd Nicodemus wedi cael hamdden i'w berarogli yn briodol am fod y Sabbath yn agoshau.

Dychwelasant i'r ddinas ac a barotoisant berarogl ac enaint. Gofalent am reoleiddio eu teimladau trwy orphwys ar y Sabbath: "Ac a orphwysasant ar y Sabbath yn ol y gorchymyn." Sabbath lled dywyll a thrist ydoedd hwn i'r dysgyblion. Gorphwyso yr oedd-

ynt mewn galar a hiraeth dwys am eu Harglwydd. Yr oedd wedi dywedyd wrthynt, "Chwi a fyddwch dristion." Profent y tristwch y Sabbath yr oedd eu Harglwydd yn y bedd. Yr oedd parotoi gogyfer âg eneinio ei gorph wedi ysgafnhau ychydig ar feddyliau prudd y gwragedd.

Ond tristwch oedd hwn cyn i'r wawr dori. A thranoeth ymgynullodd yr arch-offeiriaid a'r Phariseaid at Pilat, a gofynasant iddo roddi gorchymyn i gadw y bedd yn ddiogel hyd y trydydd dydd, rhag y byddai i'r dysgyblion ei ladrata, a dywedyd, Efe a gyfododd o feirw. Feallai iddynt ddeall y geiriau, "Dinystriwch y deml hon, a mi a'i cyfodaf mewn tridiau," er na fynent gydnabod hyny. Os oeddynt wedi clywed fod Joseph o Arimathea a Nicodemus wedi ei arddel yn y gwaradwydd, ofnent yn fwy y byddai iddynt hwy gynorthwyo ei ddysgyblion i'w ladrata—ni phetrusent wneyd eu cynlluniau ar y Sabbath. Dyma y bobl oedd yn gwaeddi wrth y dyn a iachawyd ar lan llyn Bethesda, yr hwn a gariai ei wely i brofi fod yr Iesu wedi ei iachau: "Y Sabbath yw hi." Bychan oedd gan y bobl hyn halogi y Sabbath eu hunain â'u gweddill o ddigofaint a chynddaredd. Ac wele hwy eu hunain yn myned at Pilat, ac yn gofyn iddo roddi gorchymyn i wneyd y bedd yn ddiogel rhag y dysgyblion.

"Y mae genych wyliadwriaeth," meddai; cymerwch nifer o filwyr, a gwnewch mor ddiogel ag y medroch, os ydych yn ofni iddo adgyfodi: gwnewch eich goreu i'w gadw yn y bedd. A hwy a aethant ac a wnaethant y bedd yn ddiogel, trwy osod cortynau cryfion, tybia rhai, ar draws y maen ar y bedd, a'u cylymu wrth y graig, a gosod sêl y llywodraeth ar eu gwaith, fel y buasai pwy bynag a ddatodai eu gwaith yn tynu llywodraeth Rhufain yn ei ben. Gwnaethant y wyliadwriaeth i fyny o filwyr a rhai o'r Iuddewon.

# PENOD XXV.

---

*Ffaith fawr adgyfodiad ein Harglwydd—Yn ymddangos i'w ddysgyblion am ddeugain niwrnod—Ymddangosiad yr Iesu (1) i Mair Magdalen, (2) i'r gwragedd, (3) i Petr, (4) i Cleopas a'r dysgybl arall ar y ffordd i Emmäus, (5) i'r apostolion.*

## ADGYFODIAD CRIST.

"Yr Arglwydd a gyfododd yn wir, ac a ymddangosodd i Simon."—Luc xxiv. 34.

YR oedd y bedd wedi ei wneyd mor ddiogel ag oedd modd i alluoedd Rhufain a'r Iuddewon, mewn undeb â gallu y tywyllwch, ei wneuthur, "ond nid oedd yn bosibl ei atal ef ganddo,"—yr oedd efe wedi talu swm ein dyled.

Deuwn yn awr i olwg dyrchafiad Crist. Disgynodd i barthau isaf y ddaear i wneuthur ewyllys ei Dad. Disgynodd fel y gallai esgyn i gyflawni pob peth. Rhoddodd y fath foddlonrwydd i'r Tad yn ei ddarostyngiad, fel y mae y Tad â'i holl allu yn ei ddyrchafu. Dyrchafodd y Tad ef â'i ddeheulaw, a dyrchafodd ef i'r ddeheulaw goruwch yr holl nefoedd. Grisiau ei ddyrchafiad ydynt ei adgyfodiad, ei esgyniad, ei eisteddiad ar ddeheulaw Duw, a'i ddyfodiad i farnu y byd y dydd diweddaf. Y ris gyntaf yn ei ddyrchafiad ydyw ei adgyfodiad o'r bedd. Y mae ei adgyfodiad yn cynwys gwirionedd sylfaenol yr Efengyl. Yn ei adgyfodiad daeth rhagorol fawredd nerth Duw a gweithrediad nerth ei gadernid ef i weithrediad, yr hon a weithredodd efe, medd y gair, yn Nghrist pan y cyfododd efe oddiwrth y meirw. Sêl cymeradwyaeth Duw ar ei waith ac ar ei

aberth ydyw ei adgyfodiad ef. Dywed ei adgyfodiad iddo orchfygu gallu a theyrnas y tywyllwch, a chondemnio pechod yn y cnawd; y mae ei adgyfodiad yn sicrhau buddugoliaeth y gwirionedd ar gyfeiliornad, y da ar y drwg, a bywyd ar farwolaeth. Priodolir ei adgyfodiad yn y gair i Dduw, neu y Tad. Cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad. Y mae y gair hefyd yn priodoli ei adgyfodiad iddo ef ei hun. "Dinystriwch y deml hon," ebe'r Iesu, "a mi a'i cyfodaf hi mewn tridiau." Ac y mae y gair yn priodoli ei adgyfodiad i'r Ysbryd Glân: "Ac os Ysbryd yr hwn a gyfododd Iesu o feirw sydd yn trigo ynoch," &c.

### YMDDANGOSIADAU YR IESU.

Arhosodd ein Gwaredwr yn y byd ddeugain niwrnod wedi adgyfodi. Nid ymddangosodd i'r byd yn ystod yr amser hwn. Cyflawnodd ei addewid i'w ddysgyblion trwy ymddangos a datguddio ei hun iddynt, fel y llawenychent ynddo ac y tystiolaethent am ei adgyfodiad. Y mae hanes ei ymddangosiadau i'w ddysgyblion yn gysurlawn ac addysgiadol. Nid ydyw yr efengylwyr wedi dangos gofal neillduol gyda golwg ar drefniad ei ymddangosiadau; ond dangosant ofal neillduol am wneyd y ffeithiau yn hysbys. Dymunwn gyflwyno y trefniad a ganlyn o'i ymddangosiadau, er mantais i'r darllenwyr:—

1. I Mair Magdalen, Ioan xx. 14.

2. I'r gwragedd ereill ar eu ffordd i fynegu i'r dysgyblion, Matth. xxviii. 9.

3. I Petr, Luc xxiv. 34; 1 Cor. xv. 5.

4. I'r ddau ddysgybl ar y ffordd i Emmäus, Luc xxiv. 13—35.

5. I'r un ar ddeg ac ereill, neu yn hytrach i'r deg Apostol, Marc xvi. 14; Luc xxiv. 36; Ioan xx. 19.

6. I'r un Apostol ar ddeg yn Jerusalem, Ioan xx. 26.

7. I bump o'r Apostolion a dau o'i ddysgyblion ar lan môr Galilea, Ioan xxi. 1, 2.

8. I'r un ar ddeg ar fynydd Galilea, Matth. xxviii. 16; Marc xvi. 15; ac i'r pum' cant brodyr ar yr un mynydd, 1 Cor. xv. 6.

9. I Iago, brawd yr Arglwydd, 1 Cor. xv. 7.

10. I'r un ar ddeg ar ei esgyniad, Marc xvi. 19, 20; Luc xxiv. 50; Act. i. 3—12.

"Ac yn niwedd y Sabbath, a hi yn dyddhau, daeth y gwragedd at y bedd," wedi prynu y peraroglau i'w eneinio ef. Gwelsant ar yr olwg gyntaf ar y bedd fod y maen wedi ei dreiglo ymaith. "Disgynodd angel yr Arglwydd o'r nef, ac a dreiglodd y maen oddiwrth y drws, ac a eisteddodd arno." Yr oedd golwg gogoneddus ar yr angel. "A'i wynebpryd oedd fel mellten, a'i wisg yn wèn fel eira." Nid aeth yr angel i balas Pilat i ofyn ei genad ef i ddatod y seliau; ac nid ymgynghorodd â'r ceidwaid. Dangosodd hefyd ei fod yn wâs brenhinol, ac wedi derbyn awdurdod uwch nag awdurdodau y ddaear. Gwelodd a theimlodd y ceidwaid nas gallent hwy atal i'r gwas nefol hwn gyflawni ei waith: "A rhag ei ofn ef y crynodd y ceidwaid, ac a aethant megis yn feirw." Nid oedd rhwystr ar ffordd y gwragedd i fyned i'r bedd pan y cyrhaeddasant yno. Ac ni ddychrynid hwy gan y ceidwaid, y rhai erbyn hyn oeddynt wedi gadael y lle mewn ofn a dychryn gan olygon tanllyd ac ystwythgryf cenad y nef; ond er iddynt gael y ffordd yn rhydd i'r bedd ni chawsant gorph yr Iesu. Daear sanctaidd oedd yr ardd a'r bedd: yma y daeth galluoedd y tywyllwch a galluoedd mawrion y nef i wrthdarawiad â'u gilydd. Nid oes angen gofyn pwy a orchfygodd yn yr ymgyrch. Buasem yn gofyn hefyd i'r archoffeiriaid, pe cawsem gyfleusdra, y rhai a fu yn rhwymo ein Gwaredwr, ac wedi gwneyd eu goreu i ddiogelu y bedd,

Ydyw y taclau yn dal, meddwch chwi, archoffeiriaid? Yr hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd a chwardd; yr Arglwydd a'ch gwatwar chwi heddyw.

Dywedodd yr angel wrth y gwragedd, "Nac ofnwch; canys mi a wn mai ceisio yr ydych yr Iesu yr hwn a groeshoeliwyd. Nid yw efe yma, canys cyfododd." Angel a gafodd y fraint oruchel o fynegu gyntaf am ei adgyfodiad wrth y gwragedd. Dywedodd yr angel wrthynt, "Nac ofnwch: efe a gyfododd, megis y dywedodd;" cyflawnodd ei air i chwi. "Deuwch, gwelwch y fan lle gorweddodd yr Arglwydd." Yr oedd y lle y gorweddodd yr Arglwydd yn gysegredig yn ei olwg, a dymuna arnynt hwy sylwi ac edrych yn fanwl a chyda pharch ar y fan lle y gorweddodd yr Arglwydd. Edrychasant i fewn i'r bedd, ac wrth edrych gwelsant angel arall mewn gwisg ddisglaer. Gallai fod yno ychwaneg o gylch y bedd. "Ewch ar ffrwst," meddai, "a dywedwch i'w ddysgyblion, gyfodi ohono o feirw." Cofiwch hefyd ddywedyd i Petr. "Ac i Petr," meddai; yr ydwyf fi wedi cael siars neillduol i fynegu i Petr. Y mae efe yn myned o'ch blaen chwi i Galilea. Yno y cewch ei weled, fel y dywedodd. Yno yr oedd efe yn bwriadu ymddangos yn gyffredinol i'w ddysgyblion.

Gwnaeth Mair Magdalen frys i ddychwelyd i Jerusalem i fynegu i Petr ac Ioan, y rhai, y mae'n debyg, a arhosent gyda'u gilydd yn nghartref Ioan ac Iago. Dywedodd Mair Magdalen wrthynt mewn ffrwst, "Hwy a ddygasant yr Arglwydd ymaith o'r bedd, ac ni wyddom ni pa le y dodasant ef." Fe allai, ac nid ydyw yn anhebyg, i Mair adael y lle wedi gweled y bedd yn wâg cyn i'r angel fynegu iddi ei gyfodi o feirw. Darfu Mair, yn ei ffrwst yn mynegu hanes y bedd, eu cymhell at y bedd i weled beth oedd wedi cymeryd lle. A hwy a aethant at y bedd. Yr oedd y ddau ddysgybl erbyn hyn yn awyddus i weled y bedd fel y rhedasant, y ddau yn

nghyd. Cyrhaeddodd Ioan y bedd o flaen Petr, gan iddo redeg yn gynt nag ef. Taflodd Ioan ei olwg i'r bedd, a gwelodd y llieiniau wedi eu gosod. Aeth Petr i mewn i'r bedd, ac a ganfu y bedd wedi ei drefnu. Anturiodd Ioan i mewn, ac a welodd ac a gredodd. Gadawodd yr Iesu y dillad bedd mewn trefn i'w bobl, a thynodd y *damp* o'r bedd iddynt hwy. Y mae yr enw newydd a roddodd yr angel ar y bedd hefyd yn lliniaru gryn lawer ar ei ddychrynfeydd i'w ddysgyblion ef. Pwy a drefnodd y bedd fel hyn? Tybia rhai mai yr angelion. Cyfododd, nid mewn brys, ond mewn nerth a thawelwch, fel y trefnodd y bedd yn ystafell i'w bobl ef i huno ynddi dan ei ofal ef, ac mewn undeb âg ef hyd nes y bydd efe yn eu deffro i deyrnasu gydag ef. Dychwelodd y ddau ddysgybl at yr eiddynt heb weled dim ond y bedd yn wâg ac wedi ei drefnu. Safodd Mair wrth y bedd oddiallan yn wylo. Fel yr oedd Mair yn ymgrymu tua'r bedd yn ei galar, "Hi a ganfu ddau angel yn eu gwisgoedd gwynion yn eistedd un wrth ben ac un wrth draed y lle y dodasant gorph yr Iesu." Mair Magdalen o bawb oedd yn hiraethu ac yn galaru fwyaf am dano: sychedig ydoedd ei henaid hi am yr Iesu.

Sylwn yn fanylach ar ei ymddangosiadau:—

1. Ymddangosodd yn gyntaf i'r hon oedd yn hiraethu fwyaf am dano, sef i Mair Magdalen. Dywed Marc, "A'r Iesu wedi adgyfodi, y boreu dydd cyntaf o'r wythnos, a ymddangosodd yn gyntaf i Mair Magdalen." Nid ydyw efe yn aros yn hir heb ymddangos neu egluro ei hun i'w bobl sydd yn hiraethu ac yn sychedu am dano. Yr oedd Mair wedi myned allan i chwilio am dano, a chafodd yr hwn oedd hoff gan ei henaid. Ni ddarfu hi ei adnabod yr olwg gyntaf a gafodd arno. Gofynodd iddi, "O wraig, paham yr wyt ti yn wylo? pwy yr wyt ti yn ei geisio?" Datguddiodd yr Iesu ei hun iddi trwy ei

lais yn galw arni: "Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Mair." Yr oedd llais yr Iesu yn hawdd i'w adnabod; llais peraidd, debygem, oedd llais ein Gwaredwr. Galwodd Mair yma yn ei lais arferol. Dygodd ei lais hi i'w adnabod yn llawn. "Hithau a droes, ac a ddywedodd wrtho, Rabboni, yr hyn yw dywedyd, Athraw:" O fy Athraw, a dangosodd ddymuniad i gyffwrdd âg ef. Dywedodd, "Na chyffwrdd â mi; canys ni ddyrchefais i eto at fy Nhad." Ti a gei fy addoli mewn ystyr uwch na thrwy gyffyrddiad â mi. Y mae genyf fi waith mwy pwysig i dy gariad ataf heddyw na chyffwrdd â mi. Dos at fy mrodyr, a dywed wrthynt. Ti gei fynegu y waith gyntaf fy adgyfodiad i'm brodyr. Mwy gwerthfawr yn ei olwg na rhoddi mynegiad i'w chariad trwy gyffwrdd âg ef oedd myned i gysuro ei frodyr trwy fynegu iddynt am ei adgyfodiad. Y mae efe yma yn rhoddi gwaith i'w chariad ato. Dewisodd i Mair y pryd hwn ddangos ei chariad ato trwy gyflawni gwasanaeth yn hytrach na thrwy ddefosiwn. "Dos at fy mrodyr, a dywed wrthynt." "Yr wyf fi," meddai, "yn dyrchafu at fy Nhad i a'ch Tad chwithau, fy Nuw i a'ch Duw chwithau." Yn y geiriau hyn gallwn gael golwg ar y teulu gogoneddus trwy y ddaear a'r nef, y rhai a enwir o'r Tad, ac a unir gan y Mab, y cyntaf-anedig yn mhlith brodyr lawer, ac a berffeithir gan yr Ysbryd Glân. "Mair Magdalen a ddaeth ac a fynegodd i'r dysgyblion weled ohoni hi yr Arglwydd, a dywedyd ohono y pethau hyn iddi." Dywedai Mair ei fod ef wedi cyfodi o feirw, a'i fod ef yn fyw. Clywais ei lais; bu yn siarad â mi, dywedai; y mae ei gariad a'i ofal am danoch yr un, er i chwi ei adael ef. Gofynodd i mi dd'od i'ch cysuro trwy ddyweyd iddo gyfodi o feirw.

2. Cyfarfyddodd yr Iesu y gwragedd ereill ar eu ffordd i fynegu i'r brodyr yn ol gorchymyn yr angel. "Wele, yr Iesu a gyfarfu â hwynt, gan ddywedyd, Henffych

well. A hwy a ddaethant ac a ymafaelasant yn ei draed ef, ac a'i haddolasant." Dywedodd wrthynt, "Nac ofnwch ; ewch mynegwch i'm brodyr, fel yr elont i Galilea, ac yno y'm gwelant i." Ond edrychai y dysgyblion ar dystiolaeth y gwragedd fel gwegi, ac ni chredasant iddynt. Daethant i'r penderfyniad yn y cynghor i dawelu y milwyr a dirymu eu tystiolaeth trwy eu llwgrwobrwyo. Hwy a roisant arian lawer i'r milwyr, gan ddywedyd, "Dywedwch, Ei ddysgyblion a ddaethant o hyd nos, ac a'i lladratasant ef, a nyni yn cysgu ; ac os clyw y rhaglaw hyn, ni a'i perswadiwn ef, ac a'ch gwnawn chwi yn ddiogel." Yr oedd cysgu yn ystod y wyliadwriaeth yn drosedd peryglus. Ond er iddynt allu tawelu y milwyr a dirymu eu tystiolaeth, nid oeddynt yn ddigon synhwyrol i ddywedyd celwydd heb i'w hangysondeb fod yn amlwg. Pa fodd y gallent hwy ei ladrata a hwy yn cysgu ? Y mae anghrediniaeth yr Iuddewon yn y mater hwn yn dibynu ar gelwydd yr archoffeiriaid.

3. "A'i weled ef gan Cephas." Ymddangosodd yn lled foreuol dydd cyntaf yr wythnos i Petr, y mae yn dra thebyg. Fe aeth Petr yn bell o'i le yn llys yr archoffeiriad, ond oddiyno efe a aeth allan, ac a wylodd yn chwerw-dost. Arfer yr Iesu ydyw brysio i drugarhau wrth yr edifeiriol. Ni fynegir i ni fanylion ei ymddangosiad i Petr y boreu hwn. Dywedodd wrtho yn ddiau ei fod wedi maddeu y gwadu deirgwaith. Nis gallasai Petr beidio llawenychu yma wrth ei weled wedi gorchfygu angeu a'r bedd, a'i weled wedi myned trwy ei waith, a'i fod ef yr un yn ei barodrwydd i drugarhau a maddeu.

4. Cyfeiriai dau o'i ddysgyblion, Cleopas ac un arall, tuag Emmäus, pan yr oedd boreu y dydd cyntaf o'r wythnos wedi myned heibio, a'r dydd yn tynu i'r prydnawn. Yr oedd newyddion diweddaraf boreu y dydd cyntaf hwn wedi codi pryder ac ymofyniad. Yr oedd y gwragedd wedi ei weled a gweled angelion, ac wedi eu

hanfon gan yr Iesu i fynegu i'w frodyr, y rhai a wnaethant ei orchymyn gyda chariad a zel mawr. Ni chredai y dysgyblion eu tystiolaeth. Trist ac anghrediniol oedd dysgyblion yr Iesu pan oedd y Bugail wedi ei daro a hwythau, y praidd, wedi eu gwasgaru. Cawn hanes dau ohonynt, Cleopas ac un arall, yn cyd-deithio tuag Emmäus, tref tuag wyth milldir i'r gorllewin o Jerusalem, pan yr oedd dydd adgyfodiad yr Iesu yn tynu i'r prydnawn. Rhodio yn wyneb-drist yr oeddynt, ond am dano ef yr ymddiddanent ar eu taith o Jerusalem i Emmäus. "Ac yr oeddynt hwy yn ymddiddan â'u gilydd am yr holl bethau hyn a ddigwyddasent." Adroddent yr hanes i'w gilydd. "A bu, fel yr oeddynt yn ymddiddan, ac yn ymofyn â'u gilydd, yr Iesu ei hun hefyd a nesaodd, ac a aeth gyda hwynt." Yr oedd eu hymddiddan â'u gilydd am dano ef yn ei gosod yn agored iddo ef ei hun hefyd dori i mewn i'r cwmpeini. Nid ydyw yn arfer rhoddi datguddiad ohono ei hun i'w bobl yn mhob agwedd ar eu meddyliau. Pan yr oeddynt yn ymddiddan am dano ef, ac yn llawn o hyder a thristwch yn ei gylch, y daeth efe i mewn i'r cwmpeini: "A'r Iesu ei hun hefyd a nesaodd, ac a aeth gyda hwynt." Ymddangosodd iddynt fel un wedi bod yn yr wyl yn Jerusalem. "Eithr eu llygaid hwynt a ataliwyd, fel nas adwaenent ef." Gofynodd iddynt, "Pa ryw ymadroddion yw y rhai hyn yr ydych yn eu bwrw at eu gilydd, dan rodio, ac yn wyneb-drist?" Gofynodd Cleopas iddo, "A wyt ti yn unig yn ymdeithydd yn Jerusalem, ac ni wyddost y pethau a wnaethpwyd ynddi hi yn y dyddiau hyn?" Y mae yr amgylchiadau hyn yn hanes mawr y dydd, ac yn ymlid ymaith bob hanes arall. "Pa bethau?" gofynodd drachefn, fel y byddai iddynt roddi adroddiad o'i hanes. Bendithiol iddynt ydoedd adrodd hanes yr Iesu. Yr oedd y baich hefyd yn ysgafnhau trwy adrodd ei hanes. "Y pethau yn nghylch

Iesu o Nazareth, yr hwn oedd wr o brophwyd, galluog mewn gweithred a gair gerbron Duw a'r holl bobl." Y mae y bobl yn barod i'w gydnabod yn brophwyd galluog. Beth bynag ddywed penaethiaid yr Iuddewon, y mae efe yn uchel gerbron Duw a'r holl bobl. Ni welódd y bobl neb yn gyffelyb iddo ef yn ei allu i gyfarfod â'u holl anghenion. Dywed y bobl na lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn; cyhoeddodd y Tad o'r nef ei foddlonrwydd ynddo ef. "A'r modd y traddododd yr archoffeiriaid a'n llywodraethwyr ni ef i farn marwolaeth, ac a'i croes-hoeliasant ef." Gobeïthiem ni ar y seiliau goreu mai efe oedd y Messiah, ein Gwaredwr ni, pobl Israel. Dywedodd efe y cyfodai y trydydd dydd, ac heddyw yw y trydydd dydd er pan wnaethpwyd y pethau hyn. Mynegasant iddo dystiolaeth y gwragedd a'r rhai a welsant y bedd gwag.

Mae yr Iesu fel ymdeithydd yn gwrando eu hadrodd-iad, ac er eu syndod dechreuodd eu ceryddu am eu hamheuon a'u hanghrediniaeth. Dywedodd, "O ynfyd-ion a hwyrfrydig o galon i gredu yr holl bethau a ddywedodd y prophwydi." Paham na fuasech chwi yn gwrando ac yn credu y prophwydi? Oni ddywedodd y prophwydi y lleddid y Messiah, ond nid o'i achos ei hun? Onid oedd raid iddo ddioddef i gyflawni y pro-phwydoliaethau? Ac onid oedd raid iddo ddioddef y pethau hyn er mwyn ceisio a chadw y colledig? Onid trwy ddyffryn darostyngiad yr oedd y ffordd i'w ogon-iant, ac esgyn i ddeheulaw Duw fel eich Gwaredwr? "A chan ddechreu ar Moses, a'r holl brophwydi, efe a esboniodd iddynt yn yr holl ysgrythyrau y pethau am dano ei hun." Mae Sylwedd y cysgodau, yr addewidion, a'r prophwydoliaethau yma yn adlewyrchu ei ogoniant ei hun arnynt, nes eu gwneyd yn fwy newydd a gwerth-fawr yn ngolwg y ddau ddysgybl. Trwy ei ym-ddangosiad iddynt cafodd y ddau ddysgybl esboniad

Sylfaenydd ac Adeiladydd teml yr iachawdwriaeth ar linellau y cynllun dwyfol wedi ei berffeithio ganddo ef ei hun yn ol boddlonrwydd Duw. Yr oedd eu calonau yn dechreu llosgi ynddynt tra yr ydoedd efe yn ymddiddan â hwynt; yr oedd esboniad yr Iesu yn cynhesu y galon, a dyrchafodd yr Ysgrythyrau yn uwch yn eu golwg nag erioed.

Yr oedd ei ymadroddion wedi ysgafnhau y daith a byrhau y ffordd yn eu teimladau, yn ddiamheu, fel y gwrandawent arno yn astud. Pan yr oeddynt yn nesau i'r dref lle yr oeddynt yn myned, cymerodd arno ymadael a ffarwelio â hwy, er mwyn eu cymhell i roddi gwahoddiad iddo i aros gyda hwy. Y mae efe yn hoffi ac yn disgwyl gwahoddiad gan ei bobl. Disgwyliai i'r ddau ddysgybl ei wahodd i aros gyda hwynt i roddi datguddiad iddynt ohono ei hun. Yr oedd ei ymddiddan ar y ffordd yn eu cymhell i'w wahodd i aros gyda hwynt. "A hwy a'i cymhellasant ef gan ddywedyd, Aros gyda ni; canys y mae hi yn hwyrhau, a'r dydd yn darfod. Ac efe a aeth i mewn i aros gyda hwynt." Gofynasant iddo i aros gyda hwynt er mwyn cael mwy o'i gymdeithas. Dangosodd yr Iesu barodrwydd i gydsynio â'u cais. Y mae cysur yn y gwirionedd hwn i'w ddysgyblion, oherwydd nis gallant wneuthur dim hebddo ef. Dywed Keble,—

"Abide with me from morn to eve;
For without Thee I cannot live;
Abide with me when night is nigh,
For without Thee I cannot die."

Ein dymuniad ninau fyddo, Aros gyda ni. Nis gallwn fyw hebddo ef. Os cawn ni ef i aros gyda ni, bydd i hyny sicrhau digon gogyfer â'n holl anghenion. Cymerodd le meistr wrth y bwrdd, yr hyn a barodd iddynt ryfeddu. Gwnaeth hyn i roddi datguddiad ohono ei hun iddynt. "Efe a gymerodd fara, ac a'i

bendithiodd, ac a'i torodd, ac a'i rhoddes iddynt." Trwy hyn gwnaeth ei hun yn adnabyddus iddynt fel eu Harglwydd a'u Ceidwad wedi ei groeshoelio ac adgyfodi o'r bedd: "A'u llygaid hwynt a agorwyd, a hwy a'i hadnabuant ef." Efe ei hun oedd efe yn ei lais, ac yn ei eiriau, ac yn ei ddull a'i wynebpryd a ffurf ei gorph. A chyn iddynt ei gofleidio, diflanodd allan o'u golwg. Wele engraifft odidog o'i ffordd i ddatguddio ei hun i'w bobl. Yn gyntaf oll, trwy ymddiddan am yr Iesu gosododd y ddau ddysgybl eu hunain ar lwybr iddo ef ei hun nesau atynt. Gallwn ninau esgyn i lwybr i'r Iesu ei hun nesau atom. Yna y mae efe yn goleuo eu meddyliau a chynhesu eu calonau, fel ag i'w cymhell i ofyn iddo am aros gyda hwy, a rhoddi gwahoddiad iddo. Wedi derbyn gwahoddiad ymddangosodd ef ei hun ger eu bron. Darfu mynud o edrych ar ei ogoniant dawelu eu pryder a'u hofnau, a chadarnhawyd hwy mewn ffydd. Dyna hwy wedi eu gadael eu hunain; gyda mwynhad sylweddol yr adolygent yr amgylchiad hyfryd.

Nis gallent fyned i orphwyso heb fyned i Jerusalem i fynegu yr hanes i'r dysgyblion ereill. Os oedd hi yn hwyrhau a'r dydd yn darfod i'r Iesu fyned yn mhellach, nid oedd yn rhy hwyr iddynt hwy—wedi ei weled a gwrando ei eiriau—gerdded yn agos i wyth milldir i fynegu yr hanes i'w brodyr yn Jerusalem. Dychymygwn fod eu hysbryd llon yn ysgafnhau eu camrau i fyned i Jerusalem cyn i'r pyrth gau, i adrodd yr hanes wrth y dysgyblion. "Dychwelasant i Jerusalem, ac a gawsant yr un ar ddeg wedi ymgynull yn nghyd," yn dywedyd, "Yr Arglwydd a gyfododd yn wir, ac a ymddangosodd i Simon." Yr oedd y ffaith ynddi ei hun yn destyn rhagorol i gadw seiat arno—yr Iesu wedi ymddangos i Simon, yr hwn oedd wedi ei wadu. Dywedent fod ei gariad at Petr wedi dal heb gyfnewid, a'i fod yn debyg o wneyd defnydd mawr ohono, er ei holl ddiffygion.

"A hwythau a adroddasant y pethau a wnaethesid ar y ffordd, a pha fodd yr adnabuwyd ef ganddynt wrth doriad y bara."

5. Ymddangosodd y bumed waith, y dydd cyntaf o'r wythnos, i'r un ar ddeg a'r sawl oedd gyda hwynt, a'r drysau yn nghauad rhag ofn yr Iuddewon. Daeth yr Iesu ac a safodd yn y canol, ac a ddywedodd wrthynt, Tangnefedd i chwi. Llefarodd y cyfarchiad cyffredin mewn modd effeithiol. Profwch fy nhangnefedd. Yr ydwyf fi, ac yr ydych chwithau, wedi bod mewn tymhestloedd y dyddiau diweddaf; ond y mae y dymhestl fawr wedi myned heibio: yr ydwyf yn rhoddi tangnefedd i chwi heddyw. Y mae efe ei hun yn profi tangnefedd ynddo ei hun. Oherwydd iddo orphen ei waith y mae ynddo dangnefedd pur a dwyfol, yr hwn a rydd efe i'w bobl. Mae ei dangnefedd ef uwchlaw pob deall, ac uwchlaw rhoddion uwchaf y byd. Ymddangosodd iddynt a'r drysau yn nghauad. Daeth atynt yn annisgwyliadwy. Y mae efe yn ymweled â'i bobl yn fynych mewn ffordd annisgwyliadwy iddynt hwy, pan y maent mewn agwedd briodol i'w dderbyn. Efe a ddaeth atynt yma a'r drysau yn nghauad. Tybiasant mai ysbryd ydoedd, gan iddo ddyfod i mewn felly: nis gallent gredu ei fod yn feddianol ar gorph. "Paham y'ch trallodir?" Paham nad ydych yn fy adnabod, heb ofn nac amheuaeth? "Edrychwch fy nwylaw a'm traed, mai myfi fy hun ydyw." Edrychwch ar farciau y frwydr; y mae olion y croeshoeliad ar fy nwylaw a'm traed. "Teimlwch fi;" deuwch yn nes ataf, fel y byddo i chwi wybod yn sicr mai yr un oedd gyda chwi ydwyf: "nid oes gan ysbryd gnawd ac esgyrn, fel y gwelwch fod genyf fi." Ymddangosodd ar y ddaear cyn ei esgyniad gydag ôl yr hoelion ar ei draed ac ar ei ddwylaw, fel y byddai i'w ddysgyblion gredu yn sicr ac heb amheu dim iddo gyfodi o'r bedd gyda'r un corph ag oedd ganddo

pan yr oedd efe gyda hwynt, ond ei fod yn gorph ysbrydol. Yr oedd eu llawenydd mor fawr pan welsant yr Arglwydd, fel yr oeddynt yn methu a'i sylweddoli. Er mwyn symud pob amheuaeth o'u meddwl, ac fel na fuasai neb yn gallu dyweyd mai ymddangosiad ysbryd heb gorph ydoedd ei ymddangosiad iddynt, gofynodd iddynt, "A oes genych chwi yma ddim bwyd? A hwy a roisant iddo ddarn o bysgodyn wedi ei rostio, ac o ddil mêl. Yntau a'i cymerodd, ac a'i bwytaodd yn eu gŵydd hwynt." Erbyn hyn yr oedd pob amheuaeth wedi darfod ynddynt. Y fath drafferth a gymerodd efe i'w cael i gredu yn sicr, heb amheu dim! Trwy hyn yr oedd efe yn eu parotoi fel tystion o'i adgyfodiad. Eglurodd iddynt fel yr oedd yr amgylchiadau a'i cyfarfyddodd ef a hwythau yn cyfateb i'r hyn a ddywedodd efe wrthynt pan oedd efe eto gyda hwynt. "Yna yr agorodd efe eu deall hwynt, fel y deallent yr ysgrythyrau" am dano ei hun. Rhoddodd olwg newydd iddynt ar yr Ysgrythyrau trwy i'r gwir oleuni lewyrchu arnynt; ac yn ei oleuni ef gwelent fod yn rhaid i Grist ddioddef a chyfodi o feirw y trydydd dydd. Dywed fod ei ddioddefiadau a'i farwolaeth yn galw am bregethu edifeirwch a maddeuant pechodau dros y byd. "Gan ddechreu yn Jerusalem." Dangoswch fy mod i yn barod i faddeu iddynt yn Jerusalem! Jerusalem ydoedd dinas Duw, ac yn Jerusalem y cyflawnodd y genedl fesur ei hanwiredd, trwy groeshoelio Arglwydd y gogoniant. Trwy ddechreu ei bregethu yn Jerusalem dangosid rhagorol olud ei ras ef i achub y pechaduriaid gwaethaf. Dywed drachefn, "Tangnefedd i chwi." Ceidw ei dangnefedd y galon yn gefnog yn ei waith, a gwna ei waith yn fwy o bleser na dim a fedd y ddaear faith. "Megis y danfonodd y Tad fi," ebe fe, "yr wyf finau yn eich danfon chwi." Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr Efengyl i bob creadur. Y neb a gredo ac a fedyddier

a fydd cadwedig; eithr y neb ni chredo a gondemnir. Ni ddywed y condemnir neb os na fedyddir ef: y neb ni chredo a gondemnir. Nid yw bedyddio, gan hyny, yn hanfodol i iachawdwriaeth. Y drefn gan Matthew ydyw bedyddio yn gyntaf a dysgu mewn canlyniad i hyny. Y mae yr addysg a dderbynia y plant wedi eu cyflwyno i'r Arglwydd trwy fedydd yn eu cymhell i gredu yn Iesu Grist. Rhoddodd ddoniau gwyrthiol i sefydlwyr cyntaf ei deyrnas yn y byd, fel arwyddion i gadarnhau meddyliau dynion o berthynas i'w hanfoniad, a gwirionedd yr Efengyl a bregethent. A phan y mae efe yn cenhadu dynion i waith gofala am iddynt gael digon o nerth a chymhwysder i wneyd y gwaith er ei ogoniant ef.

"Ac wele," meddai, "yr ydwyf fi yn anfon addewid fy Nhad arnoch." Ni wiw i chwi fyned allan heb yr Yspryd Glân, a'r nerth o'r uchelder i wynebu byd colledig. "Arhoswch chwi yn ninas Jerusalem, hyd oni wisger chwi â nerth o'r uchelder." "Efe a anadlodd arnynt, ac a ddywedodd wrthynt, Derbyniwch yr Ysbryd Glân." Trwy hyn gallent weled a chofio mai trwyddo ef, ac er ei fwyn ef, y derbynient yr Ysbryd Glân. Yr oedd hyn yn cynwys gallu ysbrydol i argyhoeddi dynion, ac i farnu cyflyrau dynion, ac adnabod arwyddion gwir edifeirwch. Meddianent hefyd trwy hyn allu a chymhwysder i gyhoeddi maddeuant pechodau er edifeirwch yn ei enw ef, a rhybuddio yr afreolus, yn nghyda dawn i egluro y gair a'r dystiolaeth am dano ef, a gallu i ddeall a barnu achosion mewn dysgyblaeth eglwysig. Gallu ysbrydol ydyw hwn i farnu a deall pethau ysbrydol.

"Eithr Thomas, un o'r deuddeg, yr hwn a elwir Didymus, nid oedd gyda hwynt pan ddaeth yr Iesu."—IOAN xx. 24.

Yr oedd Thomas wedi disgyn yn isel o ran ei ysbryd a'i ffydd pan y gadawodd ef ei Arglwydd. "Y dysgyblion ereill gan hyny a ddywedasant wrtho, Ni a wel-

som yr Arglwydd." Mynegent y newydd gyda sicrwydd a llawenydd. Galwant ef wrth yr enw Arglwydd. Y mae yr enw a roddant ar ein Gwaredwr wedi iddo adgyfodi o'r bedd yn datgan parchedig ofn eu cariad : y mae wedi esgyn yn eu meddyliau i fod yn Arglwydd. Enillodd efe y lle uchel hwn yn syniadau ei ddysgyblion trwy ei waith yn gorchfygu angeu a'r bedd gyda'r fath ogoniant ac anrhydedd.

Mae y dystiolaeth a fynegant i Thomas yn gynwysfawr. Pobl wedi gweled a phrofi eu digonedd ynddo ef fedr ddyweyd yn dda am dano wrth ereill. Derbyniad anghrediniol a gawsant y waith gyntaf y mynegasant am ei adgyfodiad, gan un ohonynt hwy eu hunain. Ni chredai Thomas eu tystiolaeth. "Yntau a ddywedodd wrthynt, Oni chaf weled yn ei ddwylaw ef ôl yr hoelion, a dodi fy mys yn ôl yr hoelion, a dodi fy llaw yn ei ystlys ef, ni chredaf fi." Dywed rhai mai esgeuluso myned i'r cyfarfod a wnaeth iddo ddisgyn fel hyn mor ddwfn i anghrediniaeth. Modd bynag am hyny, pe buasai ef yno arbedasid ail-agor archollion ei Waredwr. Feallai ei fod wedi disgyn i'r fath ddigalondid a llwfrdra fel ag i esgeuluso gwneyd yr hyn a allai. Mewn adeg o ddigalondid y peth goreu a allwn ni ei wneyd, yn ddiamheu, ydyw ymdrechu i wneyd ein dyledswydd, doed a ddêl. Gwanychdod i ffydd a defnyddioldeb Thomas oedd bod un wythnos dan lywodraeth anghrediniaeth. Pobl barod i gredu tystiolaeth Duw ydyw y rhai y gwna efe fwyaf o ddefnydd ohonynt yn y byd.

## PENOD XXVI.

*(6) Yr Iesu yn ymddangos i'r Apostolion y Sabbath Cristionogol cyntaf—(7) Yn ymddangos i saith o'i ddysgyblion ar lan môr Galilea—(8) Yn ymddangos i'r un ar ddeg a'r pum' cant brodyr ar fynydd Galilea—(9) Yn ymddangos i Iago—(10) Yn ymddangos i'r un ar ddeg ar ei esgyniad.*

"AC wedi wyth niwrnod drachefn," sef dydd yr Arglwydd, a'r Sabbath Cristionogol cyntaf, yr oedd ei ddysgyblion ef i mewn, a Thomas gyda hwynt. Anrhydeddodd y Sabbath newydd trwy ymddangos yn nghanol ei ddysgyblion. Priodol y gelwir y Sabbath Cristionogol yn ddydd yr Arglwydd, oherwydd ar y dydd cyntaf o'r wythnos yr adgyfododd efe. Yr oedd dydd yr Arglwydd yn ddydd i dystiolaethu fod gwaith y prynedigaeth wedi ei berffeithio wrth fodd Duw; gan hyny yr oedd i fod yn ddechreuad goruchwyliaeth newydd mewn addoliad a mawl i Dduw.

Fel yr oedd Sabbath y seithfed dydd yn golygu gorpheniad gwaith y greadigaeth gan Dduw, felly hefyd y mae dydd yr Arglwydd, y Sabbath Cristionogol, yn golygu gorpheniad gwaith mawr y prynedigaeth gan ein Harglwydd Iesu Grist. Mwy ydyw ein cyfrifoldeb ni a chryfach ydyw ein cymhelliadau i gadw yn sanctaidd ddydd yr Arglwydd nag oedd iddynt hwy yn yr Hen Oruchwyliaeth. Mae cariad Duw yn eglurach yn y prynedigaeth nag yn y greadigaeth. Y mae creadigaeth a rhagluniaeth yn egluro ei dragywyddol allu a'i Dduwdod a'i ddoethineb; ond y mae y prynedigaeth yn egluro ei gariad tragywyddol at fyd colledig.

"Yna yr Iesu a ddaeth, a'r drysau yn gauad, ac a safodd yn y canol, ac a ddywedodd, Tangnefedd i i chwi." Adnabyddai ystad meddwl Thomas: yr oedd afiechyd moesol y genedl heb ei adael, yr hwn a ddeuai i'r golwg yn ei anmharodrwydd i gredu heb weled. Yn rasol ymostyngodd yr Iesu i gyfarfod ystad meddwl ac anghenion personol Thomas, yr hwn oedd anghredadyn. "Wedi hyny y dywedodd efe wrth Thomas, Moes yma dy fys, a gwel fy nwylaw; ac estyn dy law, a dod yn fy ystlys: ac na fydd anghredadyn, ond credadyn." Nid oedd yn meddwl, y mae yn debyg, fod ei Arglwydd yn gwrando arno yn llefaru y geiriau anghrediniol a lefarai. Dygodd yr Iesu eiriau anghrediniol Thomas i'w wyneb ef mewn modd ceryddol, er mwyn ei waredu o'i anghrediniaeth. Dywedodd, "Moes yma dy fys." Ti ddywedaist na wnaet ti gredu heb gael dodi dy fys yn ôl yr hoelion. Moes yma dy fys; gwel fy nwylaw. Wele gyfleusdra i ti wneyd dy ddymuniad. Dywedaist y rhaid i ti gael dodi dy law yn fy ystlys; gan hyny, estyn dy law, a dod yn fy ystlys. Gwnaeth yn amlwg yma ei barodrwydd i ymddarostwng i gyfarfod â gwendidau ei bobl, a'u gwaredu rhag cael eu gorchfygu gan anghrediniaeth. Y mae efe yn cyfarfod â dymuniadau calon galed anghrediniol Thomas yn hytrach na gadael i'w anghrediniaeth ei orchfygu. Datguddiodd amlygiad mawr ei gariad i gadw yn fyw ei ffydd. Ac na fydd, meddai, anghredadyn. Paid aros dim ar dir anghrediniaeth; ond credadyn. Ni chaf ffrwythau yr Ysbryd yn mywyd anghredadyn, ac yn nhiriogaeth anghrediniaeth nid oes ond drain a mieri.

"A Thomas a atebodd ac a ddywedodd wrtho, Fy Arglwydd, a'm Duw." Golyga ei gyffes ei adnabyddiaeth ohono fel ei Arglwydd a'i Dduw. Mae efe yn sylfaen i mi bwyso ac adeiladu arno ac aros arno. Y mae efe yn Gyfryngwr ac yn Farnwr i mi. "Fy

Arglwydd:" ynddo yr arhosaf, ac efe a wasanaethaf; "a'm Duw:" ac efe a addolaf, ac ynddo ef yr ymddiriedaf. "Am i ti fy ngweled, Thomas," meddai, "y credaist: bendigedig yw y rhai ni welsant, ac a gredasant." Y mae credu y dystiolaeth heb weled yn uwch yn ei olwg ef na chredu trwy weled arwyddion allanol. Y mae credu y dystiolaeth heb weled yn mynegu fod ffydd yn gweled â golygon mwy ysbrydol.

7. "Gwedi y pethau hyn yr Iesu a ymddangosodd i saith o'i ddysgyblion wrth fôr Tiberias." Y rhai a ymddangosodd iddynt ar lan y môr oeddynt Simon Petr, Thomas a Nathanael, meibion Zebedeus, a dau ereill. Dywedodd Simon Petr wrthynt, "Yr wyf fi yn myned i bysgota." Nis gellir gwybod pa fodd yr oedd hi ar amgylchiadau y dysgyblion yr adeg hon. Yr oedd y pwrs wedi bod mewn dwylaw peryglus, a gallai nad oedd fawr ynddo erbyn hyn. Nis gellir gwybod. Nid oes golwg bryderus am eu cynhaliaeth dymhorol ar hanes ei ddysgyblion. Yn hyn yr oeddynt yn debyg iddo ef. Llwyddodd i'w dysgu i beidio rhagofalu am eu cynhaliaeth yn y byd hwn. Ni ddywedir yma paham y dywedodd Petr, "Yr wyf fi yn myned i bysgota;" a dywed y dysgyblion ereill, "Yr ydym ninau hefyd yn dyfod gyda thi." Nid oedd dim neillduol yn Jerusalem i'w cadw hwynt yno. Yr oedd wythnos yr wyl wedi myned heibio, yn ystod yr hon yr oedd amgylchiadau mawrion wedi myned drostynt, a'r cymylau duon erbyn hyn yn dechreu gwasgaru. Yr oedd ein Harglwydd wedi ymddangos i amryw o'i ddysgyblion, ac wedi profi ei fod ef yr un yn ei ofal a'i feddwl ohonynt. Nid oeddynt ychwaith, debygem, wedi anghofio crybwylliad y gwragedd, y byddai iddynt ei weled yn Galilea. Tueddid hwynt i droi eu hwynebau i Galilea: yr oedd gyda hwy adgofion melus am dano ef yn llefaru ac yn trugarhau

yn Galilea, yn Capernaum, ar fôr Galilea. "A hwy a aethant allan, ac a ddringasant i long yn y man." Y nos yr arferent bysgota, am eu bod yn fwy llwyddianus na'r dydd. "A'r nos hono ni ddaliasant ddim." Yn y boreu safodd yr Iesu ar y lan, a gofynodd, "O blant, a oes genych ddim bwyd?" A fuoch chwi yn llwyddianus i ddal? neu, yn ol rhai, A oes genych fwyd i'w werthu i mi? Pa un bynag ydyw ystyr flaenaf y geiriau, y mae yn golygu gofal yr Iesu am gynhaliaeth dymhorol ei ddysgyblion. Y mae y gofyniad yn holiad am lwyddiant ei ddysgyblion. Y mae efe yn gofalu ac yn edrych i mewn i'w hamgylchiadau tymhorol. Nid oes anghenion yn perthyn iddynt islaw ei sylw a'i ofal ef. Atebasant, "Nac oes. Yntau a ddywedodd wrthynt, Bwriwch y rhwyd i'r tu dehau i'r llong, a chwi a gewch. Hwy a fwriasant gan hyny; ac ni allent bellach ei thynu, gan y lluaws pysgod." Dywedodd Ioan wrth Petr, "Yr Arglwydd yw." Yr oedd meddwl Ioan yn fwy treiddgar i weled ac adnabod na llawer o'i frodyr. Trwy ei gariad gallai osod ei hun mewn safle fanteisiol i graffu ac adnabod neillduolion personol. Bwriodd Petr ei hun i'r môr wedi clywed fod ei Arglwydd ar y lan. Nid oedd ond can' llath rhyngddynt a'r lan, ond nis gallai y dysgybl tanllyd aros heb fyned at ei Arglwydd. Pan y cyrhaeddasant y lan "hwy a welent dân o farwor wedi ei osod, a physgod wedi eu dodi arno, a bara. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Dygwch o'r pysgod a ddaliasoch yr awrhon." Ufuddhaodd Petr i orchymyn ei Arglwydd trwy fyned i'r llong, a thynu y rhwyd i'r lan, "yn llawn o bysgod mawrion, cant a thri ar ddeg a ddeugain: ac er bod cymaint, ni thorodd y rhwyd." "Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Deuwch, ciniawwch." Distaw a gwylaidd oeddynt yn ei bresenoldeb nefol. Nis gallent ofyn iddo, Pwy wyt ti? Yr oedd ei ymddangosiad urddasol yn cau allan y cwestiynau o amheuaeth, am eu

bod yn gwybod mai yr Arglwydd ydoedd. "Yna daeth yr Iesu, ac a gymerth fara, ac a'i rhoddes iddynt, a'r pysgod yr un modd."

Cymer ef yr arweiniad i arlwyo gogyfer âg angheni on nifer fechan o'i ddysgyblion. Ni ddywed yr hanes iddo lefaru ar giniaw, ond yr oedd derbyn yr arlwy o'i law, a'i weled, a'i adnabod yn adnewyddu eu nerth. Rhagorfraint oruchel a bendith werthfawr iddynt ydoedd cael ciniawa gydag ef. Edrychant yn ddiau gydag hyfrydwch o fryniau Caersalem ar y llanerch y buont yn ciniawa gydag ef ar lan môr Galilea. Daw yn fyw i'w meddwl y fath adnewyddiad a chynhaliaeth a dderbyniasant wrth gyd-wledda âg ef am y waith olaf yn y byd.

"Yna wedi iddynt giniawa, yr Iesu a ddywedodd wrth Simon Petr, Simon mab Jona, a wyt ti yn fy ngharu i yn fwy na'r rhai hyn?" Yma y mae efe yn adferu Petr yn ngŵydd y dysgyblion, ac y mae trefniad yr adferiad yn deilwng o'n sylw. Wedi iddynt giniawa y mae efe yn adferu Petr. Ymddangosodd yr Iesu i Petr yn bersonol cyn hyn. Ni ddywedir beth a fu rhyngddynt y pryd hyny; credwn iddo ddywedyd wrtho, yr ymddangosiad cyntaf, ei fod wedi maddeu iddo. Yr oedd son wedi myned ar led yn mysg y brodyr, yn ddiau, am Petr yn gwadu ei Arglwydd yn llys yr archoffeiriad, a thueddol ydyw y brodyr i edrych yn wgus ar frawd wedi troseddu, er iddo edifarhau. Ond y mae yr Arglwydd yn dyrchafu y dysgybl edifeiriol yn mysg ei frodyr. Gweinydda y cerydd â gwialen cariad! Gwnaeth tair gwadiad Petr dair archoll ddofn yn ei gydwybod ac yn ei gymeriad; ond wele y Meddyg da yn tywallt olew ei gariad i'w archollion trwy ofyn iddo dair gwaith, "Simon, mab Jona, a wyt ti yn fy ngharu i yn fwy na'r rhai hyn?" Dywedaist y dydd o'r blaen pe buasai pawb yn fy ngwadu na buaset ti byth yn gwneyd; yn

ol dy broffes, yr oeddyt yn dyweyd dy fod yn fy ngharu yn fwy nag yr oedd y dysgyblion ereill yn fy ngharu. Wyt ti yn fy ngharu felly heddyw? Geilw ef wrth yr hen enw Simon mab Jona. Dwg hyn ar gof iddo y tro cyntaf y trodd efe ei wyneb at yr Iesu. Er mwyn deall gweinyddiad y cerydd, goddefer i ni geisio dangos y gwahaniaeth yn yr ystyr rhwng y ddau ofyniad cyntaf gan yr Iesu, ac atebion Petr, yn ol yr iaith yr ysgrifenwyd y Testament. Hoffi cyfaill caredig a chymwynaswr da, ac un yn rhesymol y dylid ei hoffi a'i barchu, ydyw y gair caru *(agapās)* yn nau gwestiwn cyntaf yr Iesu iddo. Y mae y gair caru *(phileis)* a ddefnyddia Petr yn ei atebion yn golygu cariad y serch a'r teimladau, yn annibynol ar reswm. Yn y trydydd gofyniad defnyddia yr Iesu yr un gair â Petr, yr hwn sydd yn cynwys cariad pur ac annibynol ar reswm. "Am hyny y tristäodd Petr am iddo ddywedyd wrtho y drydedd waith". Yr oedd gofyn y drydedd waith yn yr un ystyr gyda'r un gair ag yr atebodd Petr ddwy waith yn ei dueddu i feddwl fod ei Arglwydd yn ei amheu ef. Yr oedd hyn yn rhan o'i dristwch. Dichon hefyd fod gofyn y cwestiwn deirgwaith yn codi y gwadu deirgwaith i'w deimladau trist. Safodd Petr gerydd ac arholiad ei Arglwydd gydag anrhydedd. Atebodd bob gofyniad o galon gywir mewn cariad. Dywedodd, "Arglwydd, ti a wyddost bob peth; ti a wyddost fy mod yn dy garu di." Yr wyt ti yn gwybod am fy holl ffaeleddau, a gwyddost fod ynof gariad atat o dan y cwbl. Nid ydyw Petr edifeiriol yn honi rhagoriaeth heddyw ar ei frodyr. Distaw ydyw am ereill wedi profi gwell adnabyddiaeth ohono ei hun. Mae ei Arglwydd yn cydnabod cywirdeb ei atebion trwy dori gwaith iddo. Pasiodd yn uchel yn ngolwg ei Arglwydd drwy ei atebion i'r cwestiwn mawr fel un cymhwys i waith mawr yn ei wasanaeth. "Portha fy ŵyn," meddai; gofala am fy mhlant bychain; yr wyt ti

wedi profi peryglon y byd, a'th beryglon personol; a phrofaist y perygl o fyned ar grwydr. Dywedir mai y gwres mwyaf iachusol i'r gwaed a nerth y corph ydyw gwres gwaith; felly hefyd y gwres mwyaf iachusol i nerth a chynydd cariad at yr Iesu ydyw gwres gwaith er ei fwyn ef. Rhydd yma ddigon o gyfleusderau i gariad Petr egluro ei hun a myned yn gryfach trwy dori gwaith iddo. "Bugeilia fy nefaid," ychwanega. Dôs ar ol y rhai sydd wedi myned ar grwydr, a chyfarwydda fy nefaid—fy mhobl sydd dan bwysau gofalon y byd. Dywed wrthynt am geisio, a rhoddi eu serch ar y pethau sydd uchod, ac nid ar y pethau sydd ar y ddaear. "Portha fy nefaid:" gofala am iddynt gael cynhaliaeth ysbrydol. Rhagfynega ei Arglwydd i Petr y byddai iddo ei alw i ddangos nerth ei gariad trwy ddioddef er ei fwyn ef. Nid ydyw yn galw pawb o'i ddysgyblion i roddi eglurhad neillduol o'u cariad trwy ddioddef. Mae ei ferthyron yn feddianol ar gariad digon nerthol i'w ganlyn i angeu, a thrwy angeu. Galwodd Petr i ogoneddu ei Dduw trwy ddioddef marwolaeth. Y mae yn ofynol meddu nerth cryfach i ddioddef na nerth teimladau. "Lle yr ydwyf fi yn myned," meddai yr Iesu wrtho cyn ei farwolaeth, "ni elli di yr awrhon fy nghanlyn, eithr ar ol hyn y'm canlyni." Ti gei nerth i wneyd dy broffes trwy fy nghanlyn i garchar ac i angeu. "Pan oeddit ieuanc ti a'th wregysaist dy hun." Cefaist ryddid a llonyddwch i rodio lle y mynit; ni chauwyd dy lwybrau fyned o amgylch i borthi fy ŵyn, ac i fugeilio fy nefaid; ond pan elych yn hen bydd ereill yn dy ddal ac yn dy rwymo, fel y daliasant ac y rhwymasant fi, a hwy a'th arweiniant lle ni fynit.

"Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ddywedodd wrtho, Canlyn fi." Y mae yn debyg i'r Gwaredwr godi o'r lle yr oeddynt yn ciniawa, gan ddywedyd wrth Petr, "Canlyn fi." Dal i'm canlyn i; yr ydwyf fi wedi gwneyd

llwybr o dy flaen trwy y rhwystrau a thrwy angeu a'r bedd. Cadw ar y llwybr hyd nes y deui ataf fi i gyd-etifeddu a chyd-deyrnasu yn nhy fy Nhad. Canlynodd Petr a'r dysgyblion ereill yr Iesu. Edrychodd Petr yn ol, a gwelai Ioan yn canlyn. Gofynodd Petr i'w Arglwydd am Ioan, "Ond beth a wna hwn?" Yr oedd Petr ac Ioan yn gyfeillion mynwesol, a gwyddai Petr fod i Ioan le uchel yn ffafr a chariad yr Iesu. Gallai ei fod yn disgwyl y buasai Ioan hefyd yn cael ei alw i ddioddef; a da fuasai ganddo gael cwmni ei gyfaill i gyd-ddioddef âg ef. Neu dichon y dymunai wybod ychydig o ddyfodol ei gyfaill Ioan yn y byd. "Os mynaf iddo aros hyd oni ddelwyf," meddai ei Arglwydd, "beth yw hyny i ti? canlyn di fyfi." Nid ydyw yn sicrhau y byddai i Ioan gael aros hyd oni ddelai, yn unig gwna yn hysbys, os byddai efe yn ewyllysio, nad oedd hyny yn gwneyd dim gwahaniaeth i Petr. Dy waith di, ebe fe, ydyw fy nghanlyn i. Trwy fy nilyn i y cei di gymhorth i wneyd dy waith, a thrwy hyny cei gymhorth i ddioddef, ac edrych ar ddioddef yn fraint, a gogoneddu Duw trwy hyny. Ar lwybr ein dyledswydd y gwneir ni yn gryfion i gyfarfod amgylchiadau y dyfodol. Pa ddyfodiad o'i eiddo y cyfeiriai ein Harglwydd ato yn y geiriau? Ei ddyfodiad i farn yn ninystr Jerusalem, medd rhai. Tybia ereill mai ei ddyfodiad at Ioan i ynys Patmos a olygir, i roddi datguddiad iddo o ddyfodol ei deyrnas. Tueddir ni i feddwl mai yr olaf, yn benaf, a olyga yr Iesu yma.

8. Dywed Paul, "Wedi hyny y gwelwyd ef gan fwy na phum' can' brodyr ar unwaith." Ymddangosodd i'r un ar ddeg a mwy na phum' can' brodyr ar y mynydd, lle yr ordeiniasai yr Iesu iddynt. Hysbysodd iddynt cyn ei farwolaeth, "eithr wedi fy adgyfodi, mi a âf o'ch blaen chwi i Galilea." Dywed yr hanes hwn fod dysgyblion yr Iesu yn fwy lluosog yn y byd nag y tybiem. Tynodd ei eiriau, ei bregethau, a'i weithredoedd luaws

ar ei ol. Yr oedd yn y cyfarfod hwn ar y mynydd fwy na phum' can' brodyr. Tebyg nad oedd pawb o'r dysgyblion wedi gallu d'od i'r cyfarfod, ond yr oedd y dysgyblion yn gyffredinol yn ddiamheu wedi gwneyd ymdrech neillduol i fyned yno, oherwydd yr Iesu ei hun a benododd y cyfarfod hwn, ac efe a benododd y llanerch ar y mynydd i gyfarfod â'i bobl, ac a rwymodd ei hun trwy addewid i fod yn bresenol, ac ymddangos yn eu canol. "A phan welsant ef, hwy a'i haddolasant ef, ond rhai a amheuasant." Ni fuasai yr un ar ddeg eu hunain yn amheu, gan iddynt hwy ei weled gynifer o weithiau, yr hyn a ddengys fod mwy na phum' can' brodyr gyda'r un ar ddeg ar y mynydd. Yr oedd ei weled yn cynyrchu y fath lawenydd i'r dysgyblion, fel y methai rhai gredu â'u calonau yr hyn a welent â'u llygaid. "A'r Iesu a ddaeth ac a lefarodd wrthynt." Buan y diflanodd yr amheuaeth o feddyliau y rhai a amheuasant, trwy iddo ef nesau atynt. Y mae amheuaeth yn diflanu yn ngoleuni pelydrau ei ymddangosiad ef, a llawenydd cyffredinol i'r dysgyblion oedd clywed ei leferydd: tawelodd eu pryder a'u hofnau trist pan y dechreuodd efe lefaru. Yn y cyfarfod y mae efe yn anfon ei apostolion allan at yr holl genhedloedd: "Ewch gan hyny," meddai, "a dysgwch yr holl genhedloedd, gan eu bedyddio hwy yn enw y Tad a'r Mab a'r Ysbryd Glân, gan ddysgu iddynt gadw pobpeth ar a orchymynais i chwi." Gwaith mawr y byd hwn a gwaith mawr y nefoedd wedi iddo ef orphen gwaith y prynedigaeth ydyw dychwelyd y cenhedloedd at Grist, gwneyd dysgyblion i'r Iesu, a dysgu iddynt gadw ei orchymynion ef. Ewch, meddai, gorchfygwch y byd i mi trwy gyhoeddi edifeirwch a maddeuant pechodau yn fy enw i; cyhoeddwch y newyddion da yn mhob man ac i bob clust, a dysgwch iddynt gadw fy ngorchymynion. Parhewch i bregethu yr Efengyl hyd nes y bydd yr holl genhedloedd

yn ufuddhau iddi, ac yn ysgrifenu â'u llaw, Eiddo yr Arglwydd ydwyf. Gallai fod meddyliau a chwestiynau yn codi yn eu meddyliau wrth ymdeimlo eu gwendid a'u hanmherffeithrwydd i wynebu y fath waith. Pe buasent yn siarad eu meddyliau diau y buasent yn gofyn iddo, Arglwydd, pwy ohonom ni sydd ddigonol i'r pethau hyn? Nid ydym ni ond anmherffaith a gweiniaid. Pa fodd y gallwn ni wneyd dysgyblion i ti o genhedloedd y byd? Rhydd iddynt yma gefnogaeth ddigonol i wynebu ar y gwaith. Y gefnogaeth gyntaf a rydd iddynt yw, fod pob awdurdod yn ei law ef yn y nef ac ar y ddaear. "Rhoddwyd i mi," meddai, "bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear." Y mae holl alluoedd cariad, doethineb, a nerthoedd y nef yn fy llaw i i'w cyfeirio i'ch cynorthwyo chwi a'ch llwyddo yn nghyflawniad y gwaith, ac i'ch gwneyd yn galonog yn y gwaith. Y mae holl alluoedd y ddaear wedi eu plygu dan fy llywodraeth i. Y mae awdurdod wedi ei roddi i mi hefyd ar bersonau, nwydau, ac egwyddorion, a holl symudiadau y byd i'w plygu tuagat gyflawni y gwaith sydd o'ch blaen chwi. "Ewch gan hyny." Yr ail gefnogaeth a rydd efe iddynt i wynebu ar y gwaith ydyw ei addewid anmhrisiadwy: "Ac wele yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." Cofiwch o hyd yn eich ymdrech i gyflawni y gwaith fy mod i gyda chwi, nid yn ddamweiniol, ond bob amser hyd ddiwedd y byd. Rhagorfraint oruchel ydyw cael bod yn ngwasanaeth ein Harglwydd Iesu Grist. Y mae efe a'i weinidog yn agos at eu gilydd. "Lle yr wyf fi," meddai, "yno y bydd fy ngweinidog hefyd." Y mae ei galon ef yn y gwaith a chyda y bobl sydd yn gweithio yn ei deyrnas, a'i hyfrydwch oedd gyda meibion dynion. Gosododd Matthew Amen yn ei efengyl mewn cysylltiad hynod ddymunol a chysurus, sef yn nghesail ei addewid ef i fod gyda'i bobl bob amser hyd ddiwedd y byd.

9. Wedi hyny y gwelwyd ef gan Iago.

10. Yna gan yr holl apostolion. Hwn oedd ei ymddangosiad diweddaf i'r dysgyblion cyn esgyn i'r nef. Y mae efe y waith hon yn cyfarfod â hwy am y tro diweddaf. Cymerodd hyn le yn Jerusalem. Bu yn weledig i'r dysgyblion dros ddeugain niwrnod wedi cyfodi o feirw, a dywedodd y pethau a berthynent i deyrnas Dduw. Arhosodd dros ddeugain niwrnod ar y ddaear i gymhwyso a chadarnhau ei ddysgyblion fel ei dystion yn y byd o'i fywyd, ei farwolaeth, ei adgyfodiad, a'i esgyniad i'r nef. Gorchymynodd nad ymadawent o Jerusalem, eithr disgwyl am addewid y Tad, "yr hwn," eb efe, "a glywsoch genyf fi." Dywedodd hyn i ddyrchafu eu disgwyliadau am bethau mawrion trwyddo ef. Gweddus a phriodol iddynt hwy a ninau oedd disgwyl am y pethau mwyaf gwerthfawr i'r ddaear o'r nef trwy eu Harglwydd, wedi disgyn, dioddef, adgyfodi, ac esgyn i ddeheulaw y mawredd yn y goruwchleoedd. Cyfeiria eu disgwyliadau tuagat addewid y Tad am yr Ysbryd Glân fel eu Dyddanydd, Arweinydd, Dadleuydd, a'u Cynorthwywr.

Gofynodd yr apostolion iddo, "Ai y pryd hwn y rhoddi drachefn y frenhiniaeth i Israel?" Hyd y pryd hwn nid oedd eu dymuniadau daearol wedi gollwng eu gafael ohonynt yn llwyr. Feallai eu bod yn disgwyl y buasai yr Ysbryd Glân yn peri cyfnewidiad mor fawr nes codi Israel i fwy o awdurdod a dylanwad, ac y byddai hyny yn dyrchafu yr Iesu i lywodraethu ar y ddaear. "Ni pherthyn i chwi wybod yr amseroedd a'r prydiau," atebai yntau, "y rhai a osododd y Tad yn ei feddiant ei hun." "Eithr chwi," meddai drachefn, "a dderbyniwch nerth yr Ysbryd Glân wedi y delo efe arnoch." Nerth yr Ysbryd Glân a'ch gwna yn gymhwys i'r gwaith ac a'ch dyrchafa uwchlaw y byd a'i bethau. "A chwi a fyddwch dystion i mi." Y mae cymeriad ei bobl fel ei

dystion yn golygu eu bod wedi ei weled, ei glywed, a'i deimlo; y mae llwyddiant ei achos a'i deyrnas yn dibynu llawer ar dystiolaeth y tystion. Yr oedd yr apostolion yn dystion cryfion, ffyddlawn, a chywir. "Derbyniwch nerth yr Ysbryd Glân," meddai, "chwi a fyddwch dystion i mi yn Jerusalem a holl Judea, a Samaria, ac hyd eithaf y ddaear." Dechreuwch dystiolaethu am danaf yn y manau y derbyniais bob anmharch ac y gwrthodasant fi. Dyna i chwi le i roddi prawf ar eich nerth, a nerth yr Ysbryd Glân ynoch, trwy fy mhregethu yn Jerusalem, ac yn holl Judea a Samaria. Trowch eich hwynebau i Samaria, a dywedwch am danaf yno; dywedwch fod yr hwn oedd yn flin gan y daith yn eistedd ar y ffynon, wedi cyfodi o feirw, ac wedi esgyn i'r ddeheulaw; a dywedwch ei fod yn barod i faddeu iddynt, ac yn abl ac ewyllysgar i'w cadw.

Angen mawr y byd ydyw ei angen am Waredwr i roddi iddynt fywyd tragywyddol; nid oes dim yn cyfarfod angen mawr byd colledig ond cenadwri heddwch Efengyl ein Duw. Efe ydyw dymuniad yr holl genhedloedd; nid ydyw syched eu henaid yn cael ei ddiwallu hyd nes y deuant ac y derbyniant yr Iesu, ac yfed ei ddwfr bywiol ef, a bwyta ei gnawd ac yfed ei waed ef. Y cenhedloedd a ymfendithiant ynddo, ïe, ynddo ef yr ymglodforant, oherwydd ynddo ef yn unig y mae ein hiachawdwriaeth. Dywed ei addewid am yr Ysbryd Glân, "Efe a'm gogonedda i, canys efe a gymer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi." Tystiolaetha yr Ysbryd am dano yn ei gyfaddasder i gyfarfod âg anghenion, a gweled ei gyfaddasder i gyfarfod âg anghenion a dŷn y byd ato.

"Ac efe a'u dug hwynt allan hyd yn Bethania, ac a'u bendithiodd hwynt."—Luc xxiv. 50.

Wele yn awr efe a'u geilw hwynt allan hyd yn Bethania i fod yn dystion o'i esgyniad a'i ddyrchafiad i'r nef. Y dydd cynt yr oedd clywed am ei ymadawiad yn

llenwi eu calonau â thristwch, ond erbyn hyn y mae efe yn eu galw i fod yn dystion o'i ymadawiad. Golygai hyn ei fod wedi eu parotoi a'u cymhwyso i fod yn dystion o'i ddyrchafiad i'r nef. Buddiol yn eu golwg oedd ei ddyrchafiad erbyn hyn, fel yr oeddynt yn gallu llawenychu yn ei esgyniad i ddeheulaw y Tad. Yr oedd hefyd, fel y gallwn dybio, deimlad o dristwch ynddynt wedi ei gymysgu â'u llawenydd.

Boreu ddydd ar ei deyrnas yn y byd oedd y boreu yr esgynodd ein Gwaredwr i ddeheulaw y Tad. Tybiai Matthew Henry mai yn nhawelwch a distawrwydd y boreu yr esgynodd efe i'r nef. Y mae y boreu wedi cael lle mawr yn amgylchiadau mawrion ei hanes yn y byd. Yn y boreu, debygem, y ganwyd ef; yn nhawelwch a distawrwydd y boreu yr adgyfododd o'r bedd. Cafodd y gwragedd y bedd yn wâg er iddynt fyned yn foreu ar y cynddydd, a hi eto yn dywyll, ar doriad y wawr, at y bedd. Yn ei ddisgyniad dygodd y nef, megis, i'r ddaear; ac yn ei esgyniad dyrchafodd y ddaear tua'r nef. Agorodd dramwyfa eang a manteisiol o'r ddaear i'r nef, ac o'r nef i'r ddaear. Gwnaeth Joseph dramwyfa at ei deulu yn Nghanaan wedi cael ei ddyrchafu ar gyflawnder saith mlynedd o amldra yn yr Aipht. Safai y cyflawnder hwnw dan law y bachgen rhwng teulu Jacob a marw o newyn pan ydoedd y newyn trwy y wlad. Disgynodd ein Gwaredwr i barthau isaf y ddaear: "Yr hwn a ddisgynodd yw yr hwn hefyd a esgynodd goruwch yr holl nefoedd, fel y cyflawnai bob peth." Y mae efe wedi ei ddyrchafu yn uchel iawn. Yr hyn sydd yn gosod gwerth anmhrisiadwy ar ei ddyrchafiad i ni ydyw, ei fod ef yn cofio ac yn gofalu am ei frodyr a'i deulu tlawd ar y ddaear; gofalodd am wneyd tramwyfa fanteisiol o'i gyflawnder ei hun i gyrhaedd ein anghenion ni, os ydym yn credu ynddo. Pa faint sydd rhwng ei frodyr tlodion a newynog â marw o newyn? Cymaint ag sydd yn y

cyflawnder sydd ynddo ef ei hun. Diwedd hanes ei bobl ydyw eu bod yn ymfudo ato i fyw dan gysgod ei lwyddiant a'i gyflawnder yn dragywydd. Am dymhor y derbyniodd teulu Jacob dan gysgod Joseph yn yr Aipht. Bu farw y brenin a adwaenai Joseph, a bu farw Joseph, a chyfododd brenin arall, yr hwn nid adwaenai mo Joseph. Yna, wedi marw y brenin a marw Joseph, anfonwyd teulu Jacob i gaethiwed y priddfeini a than feichiau trymion, fel yr oedd eu gwaedd dan bwysau y beichiau yn esgyn i fyny at Dduw. Dywed Brenin Seion wrth ei bobl, "canys byw wyf fi a byw fyddwch chwithau hefyd."

"Ac a gododd ei ddwylaw, ac a'u bendithiodd hwynt." Bendithio ei ddisgyblion ydyw ei hanes diweddaf yn y byd. Codai yr archoffeiriad yn Israel i fendithio y bobl. Bendithion y cymod trwy ei waed ei hun a gyfrana ein Harchoffeiriad mawr ni. Efe yw ein tangnefedd ni. Pregethu tangnefedd a wnaeth efe wrth adael y byd. Derbyniodd y byd lawer o gymwynasau o'i law, a pharha i dderbyn ei drugareddau tymhorol; ond ei bobl a wna efe yn gyd-etifeddion âg ef ei hun, ac sydd yn caffael bywyd tragywyddol.

"Ac fe a ddarfu, tra yr oedd efe yn eu bendithio, ymadael ohono ef oddiwrthynt; ac efe a ddygwyd i fyny i'r nef." Y mae y wedd a gawn ni ar ei ymadawiad yn rhoddi i ni olwg gysurus ar ei gysylltiad â'i bobl. Buddiol ac angenrheidiol ydyw y gwaith a gyflawna yn ei ymadawiad. Nis gall ei bobl ef wneyd dim yn y byd heb ei fendith ef arnynt. Bendith yr Arglwydd sydd yn cyfoethogi ei bobl yn eu gwaith yn y byd. Y mae efe yn esgyn dan roddi, ac yn esgyn i roddi rhoddion i'r rhai cyndyn hefyd. Mae ei undeb â'i bobl yn aros pan y mae yr amgylchiadau yn newid. Nid oes amgylchiadau a fedr ddatod y berthynas rhwng Crist a'i bobl. Y mae ei ddatguddiad ohono ei hun a'i roddion iddynt yn

brawfion byw fod ei berthynas â hwy yn aros. Ni chafodd y byd olwg arno, ac ni ddywedodd air wrthynt wedi adgyfodi o'r bedd, ond ymddangosodd i'w bobl. Ni thorodd angeu a'r bedd ei berthynas â hwy. Mae bendithio ei ddysgyblion yn hoff waith gan ein Harglwydd Iesu Grist. Tra yr ydoedd efe yn gwneuthur ei hoff waith y dygwyd ef i'r nef. Dangosodd fod ei gariad yn ddigyfnewid pan yn esgyn i'r nef. Gwyddai am y dyrchafiad a'r gogoniant oedd iddo trwy esgyn i ddeheulaw y Mawredd ; ond bendithio ei bobl ar y ddaear y mae efe ar ei ffordd i'r dyrchafiad uwchaf.

"Efe a ddyrchafwyd i fyny, a chwmwl a'i derbyniodd ef allan o'u golwg hwynt." "Ac a ddygwyd i fyny i'r nef." Y mae y geiriau a fynega ei ddyrchafiad yn golygu mai cymeryd ei ddyrchafu yr oedd efe, a'i fod o ran ei ddynoliaeth, yr hon oedd ysbrydol, yn cael ei ddyrchafu mor naturiol ag y dyrchafwyd ef i'r groes i ddioddef a marw. Yr oedd ei esgyniad i'r nef yn amgylchiad yn mha un y dyrchafwyd ef fel ein Hiachawdwr yn ein natur ni i'r nef, i eiriol drosom ni. Yn araf yr esgynodd yr Iesu, fel y cafodd yr apostolion fantais werthfawr i edrych arno yn esgyn i fyny i'r nef. Yn ei esgyniad unodd y ddaear â'r nef yn ngolwg y rhai a'i carant ef.

"A chwmwl a'i derbyniodd ef allan o'u golwg hwynt." Amlygiad gweledig i'r dysgyblion oedd y cwmwl o bresenoldeb a gogoniant Duw Dad : un o gerbydau y drydedd nef ydoedd y cwmwl, wedi d'od i'w gyrchu adref. Tybia rhai mai cwmwl o angelion a ymddangosai iddynt. Diau fod yr angelion yn yr orymdaith nefol. Dacw y cwmwl yn graddol esgyn hyd nes yr aeth efe o'u golwg hwynt. Agorwyd y drysau tragywyddol i Frenin y gogoniant fyned i mewn. "Duw a'i tra dyrchafodd yntau." "O, byrth," dywedodd y Tad, "dyrchefwch eich penau, ac ymddyrchefwch ddrysau tragywyddol, a

Brenin y gogoniant a ddaw i mewn." Dacw ddrysau tragywyddol y nef, y rhai oedd gauedig i ni, yn dyrchafu eu penau ac yn ymagor i'w llawn led i dderbyn Brenin y gogoniant adref; "yr hwn sydd yn ymdaith yn amlder ei rym, ac sydd gadarn i iachau." Yn yr orymdaith nefol i gyrchu y Brenin adref yr oedd holl bendefigion y nef. Yr oedd goreu y Tad ar waith yn cyrchu ac yn croesawu Ceidwad pechaduriaid yn yr amgylchiad gogoneddus. Ni arweiniodd ei ddysgyblion i edrych arno yn cael ei watwar a'i groeshoelio, ond dygodd hwynt allan hyd yn Bethania i edrych arno yn esgyn i'r nef, ac yn myned i mewn i'w ogoniant. Edrychent yn ddyfal tua'r nef.

Safodd dau wr gerllaw y dysgyblion pan yr edrychent i fyny tua'r nef, mewn gwisg wen. Y mae rhyw bwys yn cael ei roddi yma ar y mynegiad fod eu gwisg yn wen. Yr oedd uniondeb y gwaith a gyflawnodd yn galw am i hyny gael ei ddangos yn ngwisgoedd yr angelion, y rhai a weinyddent arno. Dywedasant, "Chwi wyr o Galilea, paham y sefwch yn edrych tua'r nef? yr Iesu hwn, yr hwn a gymerwyd i fyny oddiwrthych i'r nef, a ddaw felly yn yr un modd ag y gwelsoch ef yn myned i'r nef." Anfonwyd y ddau angel i weinyddu cysur i'r apostolion ar ol ei ymadawiad. Yr oedd eu Harglwydd wedi esgyn uwchlaw iddynt allu ei weled gyda golwg naturiol; ond y mae llygad ffydd yn abl i fyned ato ef trwy y cwmwl o ogoniant a'i cylchyna, a gweled ynddo gyfaddasder a pharodrwydd i gadw.

Er eu cysur yr oedd eu Gwaredwr yn fyw, ac wedi cael derbyniad i dŷ y Tad; ac er mwyn eu cysuro dywed yr angelion wrthynt, "y daw felly yn yr un modd ag y gwelsoch ef yn myned i'r nef." Pob llygad a'i gwel ef yn ei ail ddyfodiad, pan y daw yn ngogoniant ei Dad i farnu y byw a'r meirw. Dydd mawr, fel pe dywedasai yr angelion, ydyw heddyw—y dydd y cymer-

wyd ef i fyny i'r nef; a dydd mawr fydd y dydd pan y daw i gyrchu ei bobl adref i'r nefoedd, y rhai a fyddant gyffelyb iddo ef. Y dydd hwnw bydd y teulu yn myned i fyny ato. Ei ewyllys ydyw cael ei bobl ato ei hun; y mae efe yn ewyllysio adgyfodi pob un o'i bobl ar ei ddelw ei hun yn y dydd diweddaf, a'u cymeryd i fyny i'r nef. Bydd eu gweithredoedd yn eu canlyn i dderbyn eu gwobr. Nid ydyw sefyll ac edrych, dywedasant, heb allu gweled o un fantais i chwi. "Ac wedi iddynt ei addoli, hwy a ddychwelasant i Jerusalem gyda llawenydd mawr." Gweddus a theilwng iawn oedd iddynt ei addoli ar ddydd ei esgyniad i fyny i'r nef. Yr oedd gwaith mawr ei ddarostyngiad yr adeg hon wedi ei gwblhau a'i berffeithio. Ar ei ddyfodiad i'r byd anfonwyd gorchymyn allan o'r orsedd, "Ac addoled holl angelion Duw ef." Wedi iddo esgyn i fyny i'r nef, y mae ei ddysgyblion yn ei addoli. Yr oedd eu haddoliad iddo ar fynydd yr Olewydd y boreu hwn yn effaith uniongyrchol eu cariad ato a'u hymlyniad wrtho a'u parch iddo. Nis gallent wneyd dim i ddygymod mor dda âg iechyd eu henaid ag addoli eu Prynwr a'u Hiachawdwr Iesu Grist. Mae yn bosibl mai hwn oedd yr addoliad cyntaf a dderbyniodd efe o'r ddaear wedi iddo esgyn i ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd. Gwenodd y nef ar eu haddoliad. Hwy a ddychwelasant i Jerusalem gyda llawenydd mawr. Cododd dyrchafiad eu Harglwydd eu hysbryd i hwyl moli a bendithio Duw. "Ac yr oeddynt yn wastadol yn y deml yn moli ac yn bendithio Duw." Tybia rhai mai yn yr oruwchystafell, lle yr ordeiniodd efe ordinhad Swper yr Arglwydd, yr oeddynt. Nis gellir gwybod i sicrwydd; ond os yno yr oeddynt, denai yr amgylchiad hwnw gydag adgofion effeithiol i'w meddyliau i godi tònau o fawl a diolchgarch ar eu hysbrydoedd iddo ef. Mor fuan y cyflawnodd efe ei addewid iddynt trwy droi eu tristwch yn

llawenydd, ac yn llawenydd mawr. Megis nad oedd bryn Calfaria a bryn yr esgyniad yn mhell oddiwrth eu gilydd, felly nid oedd dyffryn galar i'r dysgyblion yn mhell o fryn gorfoledd. Bendithiol i ddysgyblion a gweision Crist yn y byd ac yn ei waith ydyw ei lawenydd ef.

"A'r rhai hyn oll oedd yn parhau yn gytun mewn gweddi ac ymbil, gyda'r gwragedd, a Mair mam yr Iesu, a chyda'i frodyr ef."—ACT. i. 14.

Er nad oedd nifer ei ddysgyblion yn lluosog meddianent nerth undeb mewn gweddi ac ymbil; gallu nerthol yn y byd ydyw gallu dysgyblion Crist yn cytuno ac yn cydsynio mewn gweddi ac ymbil: "Os cydsynia dau ohonoch," ebe fe, "ar y ddaear am ddim oll, beth bynag a ofynant efe a wneir iddynt gan fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd." Y mae dwy galon yn cydsynio i wneyd un deisyfiad yn llwyddo gyda Duw. Cydsyniai y dysgyblion yn yr oruwchystafell mewn gweddi ac ymbil am addewid y Tad. Pa faint bynag ydoedd nifer y calonau, un deisyfiad a esgynai i fyny i'r nef yn ei enw ef. Yma ufuddhaent i orchymyn eu Harglwydd trwy gydsynio mewn gweddi ac ymbil am yr Ysbryd Glân, ac aros yn Jerusalem hyd oni wisgid hwy â nerth o'r uchelder: "Ac wele," meddai, "yr ydwyf fi yn anfon addewid fy Nhad arnoch; eithr arhoswch chwi yn Jerusalem hyd oni wisger chwi â nerth o'r uchelder." Aros a wnaethant ar lwybr ufudd-dod i orchymyn Crist· Ar lwybr ufudd-dod i'w orchymynion ef y gallwn ninau ddisgwyl derbyn trysorau ei addewidion.

Cyflawna ei addewidion i'w bobl a ymdrechant i rodio llwybr ei orchymynion. Dangosent yma eu cariad ato, a'u hymlyniad ynddo trwy wneuthur ei orchymyn, a disgwyl am ei addewid. Dywedir mai pan y mae y lleuad a'r haul mewn cysylltiad uniongyrchol â'u gilydd y tynant y llanw mawr allan o'r môr i'r tir. Pan y mae

dysgyblion Crist yn gytun yn cydsynio â'u gilydd i wneyd un deisyfiad at y Tad am yr Ysbryd Glân, y maent mewn undeb uniongyrchol â'r nef a Haul y Cyfiawnder, am addewid y Tad. Dyma fel y daw llanw mawr bendithion y nefoedd i'r ddaear. Gwedd obeithiol a gawn ni ar ei ddysgyblion, ac ar ei deyrnas yn yr oruwchystafell. Er nad' oedd yno ond nifer fechan, cydsynient mewn undeb ffydd a chariad i ddeisyfu am yr Ysbryd Glân.

Ar ddydd y Pentecost, "hwy oll a lanwyd â'r Ysbryd Glân, ac a ddechreuasant lefaru â thafodau ereill, megis y rhoddes yr Ysbryd iddynt ymadrodd." Tywalltwyd arnynt yr Ysbryd Glân, ac achubwyd oddeutu tair mil trwy bregeth Petr, wedi ei wisgo â nerth o'r uchelder. Yn oedfa fawr dydd y Pentecost daeth llanw mawr o fendithion i fewn i'r ddaear. Lledaenodd ei effeithiau gyda'r bobl a argyhoeddwyd yn yr oedfa i wahanol barthau y gwledydd cylchynol.

Yr apostolion a aethant allan ac a bregethasant yn mhob man, wedi eu gwisgo â nerth o'r uchelder. "A'r Arglwydd a chwanegodd beunydd at yr eglwys y rhai a fyddent gadwedig," trwy gydweithio â'r apostolion, a chadarnhau y Gair trwy arwyddion y rhai oedd yn canlyn.

Effaith uniongyrchol darostyngiad ac esgyniad Mab Duw ydyw Actau yr Apostolion, a thystiolaeth ydynt ei fod ef yn fyw bob amser yn y nef i lwyddo ei deyrnas yn y byd. Pan oedd Dafydd yn datgan ei awydd i fyned i'r frwydr gyda'r bobl, dywedasant wrtho, Gwell yw i ti fod yn cynorthwyo o'r ddinas. Mae ein Gwaredwr a'n Brenin ninau yn cynorthwyo ei bobl yn y rhyfel ysbrydol o'r ddinas nefol.

Rhoddwyd ei hanes i ni "fel y credom mai yr Iesu yw Crist Mab Duw, a chan gredu y caffom fywyd yn ei enw ef." Mae hanes yr Iesu yn mynegu am y bywyd

tragywyddol. Lluosog a helaeth ydyw hanesion yn y byd; gwneir ymdrech i ymgydnabyddu âg enwogion a gwroniaid y byd; edmygir eu galluoedd a'u hymdrechiadau. Dyledus ydym am ryddid a manteision tymhorol a chrefyddol i wladgarwyr y byd: ond i hanes yr Iachawdwr y rhaid i ni droi ein gwynebau am fywyd tragywyddol. "Nid oes iachawdwriaeth yn neb arall," ond y mae iachawdwriaeth ynddo ef. Amcan yr hanes am dano ydyw ein henill i gredu ynddo, fel y caffom fywyd yn ei enw ef.

"Eithr y pethau hyn a ysgrifenwyd, fel y credoch chwi mai yr Iesu yw Crist, Mab Duw; a chan gredu, y caffoch fywyd yn ei enw ef" (Ioan xx. 31).

---

# CYNWYSIAD Y PENODAU.

*Argraphwyd gan W. Gwenlyn Evans, 22, Stryd-y-Llyn, Caernarfon.*

